# LLINELL Y DOMINION

## Agerlongau Llythyrgludol Brenhinol.



## Y FFORDD FERAF A MWYAF UNIONGYRCHOL I CANADA.

HWYLIANT YN WYTHNOSOL O LIVERPOOL.

**Prisiau cludiad neillduol isel i bob pwynt yn ONTARIO, MANITOBA, Y GOGLEDD-ORLLEWIN, a COLUMBIA PRYDEINIG.**

Mae yr Agerlongau hyn yn mhlith y rhai mwyaf a chyflymaf, ac yn gymeradwyol adnabyddus am eu cysur, a'r trefniadau rhagorol sydd ynddynt i bob dosbarth o deithwyr.

Mae ystafelloedd y Dosbarth Cyntaf yn y "VANCOUVER," "LABRADOR," "OREGON," a'r "SARNIA," yn nghanol yr agerlongau lle y teimlir lleiaf o symudiad.

Mae lle yr Ail Ddosbarth yn hynod gysurol, gyda digon o amrywiaeth fwyd a phob peth angenrheidiol i'r fordaith yn ddarparedig.

Mae teithwyr y Trydydd Dosbarth (Steerage), bob amser yn canfod eu cysuron a'u cyfleusderau neillduol yn cael eu hystyried, yr ystafelloedd cysgu yn cynwys ond nifer bychan a therfynol, a'r holl le wedi ei oleu yn dda, ei gynhesu yn gymhwysiadol, a'i awyru yn rhagorol. Digon o ymborth iachus o'r fath oreu wedi ei gogino a'i weini allan gan wasanaethwyr y cwmni.

**Mae pob un o'r agerlongau yn cario Meddyg, a Goruchwylesau yn mhob dosbarth.**

---

Mae arweinydd Llinell y Dominion yn cydfyned â'r teithwyr sydd wedi prynu eu tocynau ar y reilffordd i ben eu taith.

Mae gan deithwyr y llinell hon y fantais o fyned trwy Dirogaethau Prydeinig yr holl ffordd, felly yn arbed yr anghyfleusderau llym sydd yn yr Unol Daleithiau gan yr awdurdodau wrth chwilio eu clud-gelfi (*baggage*).

Mae yr agerlongau yn myned yn gyfochrog â cherbydau y reilffordd yn mhorthladd y glaniad, a throsglwyddir teithwyr a'u clud-gelfi i'r gerbydres am ddim.

---

**PRISIAU Y CLUDIAD MORAWL:—**

**SALOON O £8 I £12, AC O 10 I 18 GINI.**

**AIL GABIN A STEERAGE AR DELERAU ISEL.**

---

*Gellir cael bob gwybodaeth pellach gan:—*

# AMAETHWYR PRYDEINIG

AR

# ADNODDAU AMAETHYDDOL CANADA.

# ADRODDIAD

MR. JOHN ROBERTS, C.S.,

Plas Heaton, Trefnant, Dinbych,

AM

EI DAITH I GANADA YN 1893.



Cyhoeddwyd ar Awdurdod Llywodraeth Canada (Rhanbarth y Canoldir).

CHWEFROR, 1894.

TURNER & DUNNETT, ARGRAPHWYR, FENWICK STREET, LERPWL.

# AMAETHWYR PRYDEINIG

AR

# ADNODDAU AMAETHYDDOL CANADA.

## ADRODDIAD

MR. JOHN ROBERTS, C.S.,

Plas Heaton, Trefnant, Dinbych,

AM

EI DAITH I GANADA YN 1893.



Cyhoeddwyd ar Awdurdod Llywodraeth Canada (Rhanbarth y Canoldir).

CHWEFROR, 1894.

# CYNWYSIAD.



# RHESTR O'R DARLUNIAU.

# RHAGYMADRODD.

Yn mis Gorphenaf, 1893, darfu i Uchel Ddirprwywr Canada, yn unol â chyfarwyddyd Gweinidog y Canoldir, wahodd y boneddigion canlynol (yr oll o ba rai sydd yn dal cysylltiad ag amaethyddiaeth yn ngwahanol ranau y Deyrnas Gyfunol, o ba rai y maent yn dyfod), i dalu ymweliad â Canada, ac i wneuthur adroddiad am ei hadnoddau amaethyddol, a'r manteision y mae y wlad yn ei gynyg fel lle i ffermwyr, llafurwyr amaethyddol, a dosparthiadau eraill ag y mae galwad am danynt, i ymsefydlu:—Mr. A. J. Davies, Upper Hollings, Pensax, Tenbury, Swydd Worcester; Mr. W. H. Dempster, Millbrook Lodge, Clarbeston Road, Deheudir Cymru; Mr. Alexander Fraser, Balloch, Culloden, Inverness, Yscotland; Mr. R. H. Faulks, Langham, Oakham, Rutland; Mr. J. T. Franklin, Handley, ger Towcester, Swydd Northampton; Mr. J. Guiry, Redmondstown, Clonmel, yr Iwerddon; Mr. Tom Pitt, Oburnford, Cullompton, Devon; Mr. John Roberts, Fferm Plas Heaton, Trefnant, Gogledd Cymru; Mr. Reuben Shelton, Grange Farm, Ruddington, Swydd Nottingham; Mr. Joseph Smith, 2, Mowbray Terrace, Sowerby, Thirsk, Swydd York; Mr. John Steven, Purroch Farm, Hurlford, Swydd Ayr, Yscotland; Mr. Booth Waddington, Bolehill Farm, Wingerworth, Chesterfield, a Mr. William Weeks, Cleverton Farm, Chippenham, Swydd Wilt.

Yn ychwanegol at y rhai hyn, darfu i ddau ffermwr arall—Mr. John Cook, Birch Hill, Neen Sollars, Cleobury, Mortimer, Swydd yr Amwythig, a Mr. C. W. Wright, Brinkhill, yn agos i Spilsby, Swydd Lincoln—ymweled â Canada, ar eu cyfrifoldeb eu hunain, yn ystod 1893; ac y maent hwythau wedi bod mor dda ag ysgrifenu Adroddiadau am yr hyn a welsant.

Pe buasai yr holl Adroddiadau yn cael eu cyhoeddi gyda'u gilydd, gwnaent gyfrol drwchus; penderfynwyd gan hyny eu cyhoeddi yn rhanau, fel y canlyn:—

Rhan 1, Adroddiadau Mri. Shelton, Waddington, Cook a Smith.

Rhan 2, Adroddiadau Mri. Franklin, Foulkes a Wright.

Rhan 3, Adroddiadau Mri. Weeks, Pitt a Davies.

Rhan 4, Adroddiadau Mri. Roberts a Dempster.

Rhan 5, Adroddiadau Mri. Steven a Fraser.

Rhan 6, Adroddiad Mr. Guiry.

Cyhoeddir y rhai uchod yn yr iaith Seisnig; yr Adroddiad hwn gan Mr. Roberts ydyw yr unig un a argrephir yn Gymraeg. Bydd i'r Rhan 1

gael ei dosparthu yn Siroedd Northumberland, Cumberland, Durham, Westmoreland, York, Lancaster, Amwythig, Caer, Stafford, Derby a Nottingham; Rhan 2, yn Lincoln, Rutland, Leicester, Northampton, Huntingdon, Caergrawnt, Norfolk, Sussex, Essex, Hertford, Bedford, Buckingham, Rhydychain, Berks, Middlesex, Surrey, Kent a Sussex; Rhan 3, yn Warwick, Worcester, Henffordd, Gloucester, Wilts, Hamps, Dorset, Somerset, Devon a Cornwall; Rhan 4, yn Nghymru; Rhan 5, yn Yscotland, a Rhan 6, ynyr Iwerddon.

**Gan bwy y ceir y Pamphledi.**—Gellir cael un neu yr oll o'r pamphledi hyn, yngbyd â rhai eraill, gyda darluniau, pa rai sydd yn cael eu cyhoeddi gan y Llywodraeth, yn rhad trwy y llythyrfa i unrhyw un a ddymuno eu darllen, trwy ymofyn â Sir Charles Tupper, G.C.M.G., C.B., Uchel Ddirprwywr dros Canada, 17, Victoria Street, Llundain, S.W.; Mr. J. G. Colmer, Ysgrifenydd, yn yr un cyfeiriad llythyrol, neu unrhyw un o Oruchwylwyr Llywodraeth Canada, enwau a chyfeiriadau pa rai sydd fel y canlyn:—Mr. John Dyke, 15, Water Street, Liverpool; Mr. Thomas Grahame, 40, Enoch Square, Glasgow; Mr. E. G. Wood, 79, Hagley Road, Birmingham; Mr. P. Fleming, 44, High Street, Dundee; Mr. W. G. Stuart, Nethy Bridge, Inverness, a Mr. G. Leary, William Street, Kilkenny. Gellir cael copiau hefyd gan Oruchwylwyr yr Agerlongau, pa rai sydd i'w gweled agos yn mhob pentref.

## TIR.—RHEOLAU YN Y GWAHANOL DALEITHIAU.

Gan fod y rheolau yn nghylch tir, yn y gwahanol Daleithiau, yn cael cyfeirio atynt yn aml yn yr Adroddiadau, y mae y manylion yn cael eu rhoddi yn y paragraphau sydd yn dilyn, ond dylid cofio eu bod yn agored i gael eu cyfnewid o amser i amser.

**Ynys y Tywysog Edward.**—Yr amcangyfrif am faint y tir anniwylliedig, a thir gwag y Llywodraeth, ydyw 45,000 o aceri. Y maent yn gynwysedig o dir coedwigol, o ansawdd ganolig (y mae y tir goreu oll, wrth gwrs, wedi cael ei gymeryd i fynu gan y tenantiaid cyntaf), ac y mae y canolbris tua doler yr acer. Caniatteir deng mlynedd o amser i'r rhai sydd yn dymuno ymsefydlu yno i dalu am y tir fyddant yn eu ddal; y pris i fod yn ddarostyngedig i lôg o £5 y cant, ac i'w dalu trwy ddeg o ranau blynyddol.

**Nova Scotia.**—Y mae yn awr yn Nova Scotia—neu Yscotland Newydd—ddwy filiwn o aceri o dir heb ei rhoddi i neb gan y Llywodraeth, ac y mae cryn lawer o hono yn noethlwm, ac yn hollol anghymhwys i'w ddiwyllio. Ond y mae yno beth tir gwerthfawr, yn rhanau o 200 i 500 o aceri; ac y mae peth o hono y goreu yn y dalaeth, ac yn agos i'r sefydliadau presenol. Pris tir y Goron ydyw £8 y cân' acer.

**Brunswick Newydd.**—Gellir cael tir y Goron, o ba un y mae tua saith miliwn o aceri heb ei meddianu ar y telerau canlynol:—(1.) Trosglwyddiad rhydd o gân' acer i sefydlwyr dros 18 oed, ar yr amod fod iddynt wella y tir hyd i werth £4, mewn tri mis; adeiladu ty 16 troedfedd wrth 20, a thrin dwy acer o dir mewn blwyddyn, a byw yn

barhaus ar y lle, gan ddiwyllio deg acer mewn tair blynedd. (2.) Rhoddir càn' acer o dir i unrhyw sefydlydd dros 18 oed a dalo ar law £4, neu a weithio ar y ffyrdd cyhoeddus, &c., werth £2 y flwyddyn, am dair blynedd. Bydd yn rhaid, mewn dwy flynedd o amser, adeiladu ty 16 trodfedd wrth 20, a chlirio dwy acer o dir. Y mae hefyd yn angenrheidiol byw ar y lle yn barhaus am dair blynedd, ar ol myned yno, a diwyllio deg acer o dir yn ystod yr amser hwnw. (3.) Gellir gwneyd apeliadau unigol am ddarn o dir heb fod dros 200 o aceri. Tir y Goron fydd hwn, ac ni bydd amodau yn nglyn ag ef. Rhoddir y tir hwn i fynu i arwerthiant cyhoeddus, ar bris cychwynol o 4/2 yr acer; rhaid i'r arian pryniant gael eu talu ar unwaith, a'r prynwr hefyd raid dalu yr arian am fesur y tir.

**Quebec.**—Y mae tua chwe' miliwn o aceri wedi eu mesur i'w gwerthu, o dir y Goron. Gellir eu prynu gan y Llywodraeth, a rhaid talu am danynt fel y canlyn:—Un rhan o bump o arian y pryniant i'w talu ddiwrnod yr arwerthiant, a'r gweddill mewn pedwar o ranau blynyddol, cyfartal, yn dwyn llôg o £6 y cant. Y mae pris y tir am ba un y gwerthir ef, yn rhedeg o 1/2 i 2/5½ yr acer. Bydd raid i'r prynwr gymeryd meddiant o'r tir o fewn chwe' mis ar ol y gwerthiant, a byw arno am ddwy flynedd. Rhaid iddo glirio, mewn deng mlynedd, ddeg acer o dir am bob cant y mae yn ei ddal, ac adeiladu ty cymhwys i fyw ynddo, o faentioli 16 trodfedd wrth 20 o leiaf. Rhoddir y llythyrau hawl, yn ddigöst. Y rhanau o Dalaeth Quebec ag sydd yn awr yn agored i ymfudwyr i sefydlu ynddynt, ydyw Cymydogaeth Llyn St. Ioan; dyffrynoedd perthynol i Afonydd Saguenay, St. Maurice, ac Ottawa; y Trefedigaethau Dwyreiniol, St. Lawrence Isaf, a Gaspé.

**Ontario.**—Gall unrhyw ben teulu, pa un bynag ai gwryw ai benyw, y rhai sydd ganddynt blant o dan 18 oed, gael trosglwyddiad o 200 o aceri o dir; a gall dyn dibriod, dros 18 oed, neu wr priod heb blant o dan 18 oed yn byw gyd ag ef, gael trosglwyddiad o 100 acer. Y mae y tir hwn, gan mwyaf, wedi ei orchuddio â choed, ac yn gorwedd yn y rhan ogleddol a gogledd-orllewinol o'r dalaeth. Gall y cyfryw un hefyd brynu 100 acer yn ychwaneg, am tua 2/1 yr acer, arian parod. Dyledswyddau y sefydliad ydynt—cael 15 acer o bob trosglwyddiad wedi eu clirio, ac yn tyfu cnwd ar diwedd y pum' mlynedd cyntaf, dwy acer o ba rai, o leiaf, y rhaid eu clirio yn flynyddol; adeiladu ty trigianol, yn 16 wrth 20 trodfedd o faint; a byw ar y tir o leiaf chwe' mis o bob blwyddyn. Yn nghymydogaeth yr Afon Wlawog, i'r gorllewin i Lyn Superior—tir ag y sydd heb ei glirio, ac yn cynwys digonedd o ddwfr da—rhoddir yn rhad 160 acer o dir, i ben teulu â chanddo blant o dan 18 oed yn byw gyd ag ef (neu hi); a 120 acer o dir i berson dibriod, neu wr priod heb blant o dan 18 oed yn byw gyd ag ef; pob person ag a fyddo yn cael y tir hwn, i gael yr hawl o brynu 80 acer ychwanegol, yn ol doler (4/2) yr acer; yr arian i'w talu ar bedwar tro blynyddol.

**Manitoba a'r Taleithiau Gogledd-Orllewinol.**—Gellir cael trosglwyddiad rhydd o chwarter-ran (160 acer) o dir amaethyddol, wedi

ei fesur, heb ei feddianu yn flaenorol, i unrhyw berson yr hwn sydd yn unig ben teulu, neu unrhyw wryw sydd wedi cyrhaedd 18 oed, trwy ymofyn â chynrychiolydd lleol tir y Llywodraeth, a thrwy dalu 10 doler i'r swyddfa. Y mae yr hawl i'r tir yn dibynu ar fod yr amodau canlynol wedi cael eu cyflawni :—Cymeryd meddiant o'r tir, ac yn mhen chwe' mis ar ol hyny adeiladu ty cymhwys arno; dechreu byw yn weithredol ar y tir, a pharhau i fyw arno am o leiaf chwe' mis o bob blwyddyn, am y tair blynedd dilynol, a diwyllio rhan resymol o'r tir yn y cyfnod hwnw. Bydd i bersonau fyddo yn cymeryd meddiant o'r tir ar ol y 1af o Fedi, mewn unrhyw flwyddyn, gael hyd y 1af o Fehefin nesaf ar ol hyny i berffeithio eu mynediad i mewn, trwy fyw yn wirioneddol ar y tir. Yr unig dal am fferm o 160 acer ydyw y deg doler a delir am fyned i mewn. Mewn rhai amgylchiadau, y mae ffermydd ag y mae eu cynbryniant wedi eu fforffedu, neu wedi eu galw yn ol, yn rhydd i fyned iddynt, ond y mae y costau ychydig yn fwy, a rhaid talu am y gwelliantau fyddo arnynt (os bydd rhai); a phan y bydd ffermydd cynbryniant wedi eu gadael, yn cael eu cymeryd i fynu, rhaid cyflawni amodau neillduol y sefydliad. Gellir cael pob gwybodaeth am hyn gan y cynrychiolwyr lleol. Mewn cysylltiad â chymeryd meddiant o'r cartrefle, gall y sefydlwr brynu, gyda chaniatâd gweinidog y Canoldir, y chwarter-ran o'r un tir ag a fyddo yn taro ar ei ran ef, os bydd hono yn rhydd, am bris y Llywodraeth, sef tair doler yr acer. Os bydd sefydlydd yn dewis cael ei hawlfraint i'r tir o fewn yspaid byrach na thair blynedd, caniatteir iddo brynu ei fferm am bris y Llywodraeth ar y pryd, trwy roddi prawf ei fod wedi byw ar y tir am o leiaf 12 mis ar ol ei fynediad i mewn, ac wedi diwyllio 30 o aceri o hono. Bydd i'r dangoslun dilynol ddangos yn mha ffordd y mae y wlad wedi ei mesur. Y mae yn dangos cwmmwd—hyny ydyw, darn o dir chwe' milltir ysgwar, yn cynwys 36 o ranau milltir ysgwar bob un. Y mae y rhanau hyn yn cael eu tori i fynu i is-ranau o 160 acer yr un, mwy neu lai.

DANGOSLUN CWMMWD.

640 ACER. GOGLEDD.

GORLLEWIN. DWYRAIN.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 31 | 32 | 33 | 34 | 35 | 36 |
| 30 | Tir 29 Ysgol | 28 | 27 | Tir 26 H. B | 25 |
| 19 | 20 | 21 | 22 | 23 | 24 |
| 18 | 17 | 16 | 15 | 14 | 13 |
| 7 | Tir 8 H. B | 9 | 10 | Tir 11 Ysgol | 12 |
| 6 | 5 | 4 | 3 | 2 | 1 |

DEHEU.

Y mae yr hawl i gynbryniant wedi peidio a bodoli, ac wedi ei atal yn gyfangwbl er Ionawr 1af, 1890. Gellir cael pob hyspysrwydd am goed, mwn, glô, tir pori a thir gwair, gan unrhyw un o'r goruchwylwyr tirol. Y mae gan ymsefydlwyr hawl i dori swm neillduol o goed, at eu gwasanaeth eu hunain yn unig, yn ystod y flwyddyn gyntaf, trwy dalu yn y swyddfa 25 *cents*. Dylid deall yn glir, fod y telerau am y tir yn agored i gyfnewidiadau o amser i amser. Dylai sefydlwyr gymeryd gofal i gael gan y goruchwyliwr tirol, pan yn myned i mewn, esponiad am y telerau fyddo mewn gweithrediad yr adeg hono, a sylwi fod yr Adran o'r Ddeddf, o dan ba un y mae y tir yn cael ei brynu, ar gefn y dderbyneb, fel na byddo cwestiwn neu anhawsder yn codi ar ol hyny.

**Columbia Brydeinig.**—Yn y Dalaeth hon, gall unrhyw ddeiliad Prydeinig, yr hwn sydd yn ben teulu, neu weddw, neu ddyn dibriod fyddo dros 18 oed, neu estron fyddo yn bwriadu bod yn ddeiliad Prydeinig, gael hawl gan y Llywodraeth Dalaethol i gynbrynu tir, heb fod yn fwy na 160 o aceri, fyddo yn perthyn i'r Goron ar yr ochr orllewinol i'r *Cascade Range*, a 320 o aceri yn nwyreinbarth y dalaeth. Y pris ydyw 4/2 yr acer, i'w dalu trwy bedwar tal blynyddol. Yr amodau ydyw—(1) Preswyliad personol y sefydlwr, ei deulu, neu ei oruchwyliwr; (2) gwelliantau i'w gwneyd, gwerth 10/6 yr acer. Gellir prynu tir hefyd o 160 i 640 o aceri, o 1 i 5 doler yr acer, yn ol y dosparth, heb unrhyw amodau yn nghylch preswyliad neu ddiwylliant. Nid ydyw Cwmni Rheilffordd Esquimalt a Nanaimo etto wedi penderfynu ar y telerau ar ba rai y maent am werthu y tir nad oes arnynt ei eisieu. Meddianant tua 1,500,000 o aceri, ond y mae llawer o hono yn gynwysedig o greigiau a mynyddoedd. Y mae y tir sydd yn perthyn i'r Llywodraeth yn gorwedd oddimewn i'r hyn a elwir "Cylch y Rheilffordd," sef darn o dir 20 milltir o led o bob ochr i'r llinell, yr hon sydd yn dechreu gyda glan y môr, ac yn rhedeg trwy gymydogaeth Westminster Newydd, i fynu Dyffryn Fraser i Lytton; oddi yno y mae yn myned i fynu Dyffryn Afon Thompson, heibio Ramloops, a thrwy Geunant yr Eryr, ar draws rhan ogleddol cymydogaeth Kooteney, i derfynau dwyreiniol Columbia Brydeinig. Y mae y wlâd wedi ei gosod allan yn gwmmwdau, fel yn Manitoba a'r Taleithiau Gogledd-Orllewinol. Gellir prynu y tir am bris, heb fod yn llai na £1 yr acer, yn rhydd oddiwrth amodau sefydliad; ond dim gwerthiant, ond mewn amgylchiadau neillduol, i fod yn fwy na 640 o aceri i'r un person. Gall y tir gael ei "gartrefu" (*homesteaded*) mewn cymydogaethau neillduol gan ymsefydlwyr fyddo yn bwriadu byw arno. Codir tal cofrestrol o £2 yr amser y gwneir apeliad am hyn. Caniatteir chwe' mis o amser i gymeryd meddiant, ac ar ddiwedd tair blynedd, ar ol prawf o drigiad parhaus ar y tir, o ddim llai na chwe' mis, a diwylliant, bydd i'r sefydlydd gael hawl i'r tir trwy dalu doler yr acer. Mewn achosion o waeledd, neu absenoldeb angenrheidiol o'r "cartrefle" yn ystod y tair blynedd, caniatteir amser ychwanegol i gydffurfio â rheolau y Llywodraeth. Gall unrhyw berson, ar ol 12 mis o drigiant ar ei fferm a diwylliant 30 o aceri, gael hawlfraint ar ei dir trwy dalu 10/- yr acer. Y mae y telerau hyn yn perthyn i dir amaethyddol.

**Tir ar Werth.**—Yn ychwanegol at y tir rhad yn Manitoba a'r Taleithiau Gogledd-Orllewinol, y mae gan amryw gwmniau diroedd helaeth ar eu llaw, pa rai a gynygiant ar werth am bris rhesymol—o 2½ i 10 o ddoleri yr acer. Yn mysg eraill, y mae gan Gwmni Rheilffordd Canada a'r Tawelfôr (Dirprwywr Tirol, Mr. S. A. Hamilton, Winnipeg) tua 14 miliwn o aceri o dir, a Chwmni Bau Hudson (Prif Ddirprwywr, Mr. C. C. Chipman, Winnipeg) randir helaeth. Y mae yr un sylw yn gymwysiadol at Gwmni Tir Canada a'r Gogledd-Orllewin (Dirprwywr Tirol, Mr. W. B. Scart, Winnipeg), Cwmni Rheilffordd Manitoba a'r Gogledd-Orllewin, ac amryw gwmniau eraill—y mae gan Gwmni Glô a Rheilffordd Alberta tua haner miliwn o aceri yn nghymydogaeth Alberta. Y mae prisiau y tiroedd hyn yn cyfnewid yn ol eu sefyllfa, ond yn y rhan fwyaf o achosion, y mae amodau y pryniant yn ysgrifn, ac wedi eu trefnu yn daliadau blynyddol a'u chwalu dros amryw o flynyddoedd. Y mae Mr. R. Seeman (swyddfa pa un yn Llundain ydyw 43, Finsbury Square, E.C., ac yn Canada, c/o Rheilffordd Manitoba a'r Gogledd-Orllewin, Winnipeg) wedi prynu tua 80,000 o aceri o dir gan y cwmni hwnw. Y mae yn barod i werthu y tir am bris rhesymol—swm bychan i'w dalu ar law, a'r gweddill trwy daliadau blynyddol ar safon raddol. Y mae Mr. Seeman wedi gwerthu tua 40,000 o aceri y flwyddyn ddiweddaf. Gellir cael manylion pellach trwy ymofyn â Mr. Seeman, yr hwn sydd yn barod i gyflenwi ymofynwyr gyda thystiolaethau gwerthfawr y sefydlwyr presenol, yn nghylch eu cynydd a'u barn am y wlad.

**Ffermydd Gwelliantol.**—Yn yr oll o'r taleithiau, gellir prynu ffermydd wedi eu gwella, am brisiau rhesymol, sef ffermydd ar ba rai y mae adeiladau wedi eu codi, a rhau o'r tir wedi ei ddiwyllio. Wele yn canlyn ganolswm y prisiau yn y gwahanol daleithiau, a dealler fod y prisiau yn cael eu rheoli gan natur a maint yr adeiladau, sefylla y fferm, a'u hagosrwydd i drefydd a rheilffyrdd:—Ynys y Tywysog Edward, o £4 i £7 yr acer; Yscotland Newydd, Brunswick Newydd, a Quebec, o £2 i £10; Ontario, o £2 i £20; Manitoba, a'r Taleithiau Gogledd-Orllewinol, o £1 i £10; a Cholumbia Brydeinig, o £2 i £20. Y mae y ffermydd hyn wedi myned yn wag, am resymau a esponir yn fanwl yn amryw o'r Adroddiadau. Y maent yn neilltuol o gymhwys i bersonau yn meddu rhyw gymaint o gyfoeth, pa rai sydd yn dymuno cael mwy o amgylchedd cymdeithasol nag a ellir gael yn ngwahanol ranau y Taleithiau, yn mha rai y mae gan y Llywodraeth dir etto yn agored i sefydlwyr.

**Allforion Amaethyddol.**—Y mae Canada eisoes wedi cyrhaedd safle bwysig fel gwlad amaethyddol, ac y mae gwerth y cynyrchion a allforir yn unig yn cyrhaedd y swm o haner-can' miliwn o ddoleri yn flynyddol, yn ychwanegol at y swm anferth a ddefnyddir gartref. Yn 1873 nid oedd yr allforion hyn ond 33¾ miliwn o ddoleri o werth, ac y mae pwysigrwydd y fasnach bresenol i'w weled pan y cofir fod prisiau wedi gostwng tua 25 y cant er hyny. Y prif bethau a allforiwyd o ffermydd yn 1892 oedd:—gwartheg, 7,748,949 o ddoleri; ceffylau, 1,354,027 o ddoleri; defaid, 1,385,146 o ddoleri; ymenyn, 1,056,058 o ddoleri; caws,

11,652,412 o ddoleri; wyau, 1,019,798 o ddoleri; blawd, 1,784,413 o ddoleri; ffrwythau gwyrddion, 1,444,883 o ddoleri; haidd, 2,613,363 o ddoleri; pys, 3,450,534 o ddoleri; gwenith, 6,949,851 o ddoleri; pytatws, 294,421 o ddoleri. Heblaw y nwyddau a enwyd, gwnaed masnach allforawl dda gyda chig moch, coesau moch, cig eidion, *lard*, cig defaid, dofednod, a chigau eraill, ynghyd â ffa, grawn Indiaidd, ceirch, blawd ceirch, *bran*, ffrwythau, a *tomatoes*. Y prif dderbynwyr o nwyddau allforawl Canada, ar hyn o bryd, ydyw Prydain Fawr a'r Unol Daleithiau, ond y mae ymdrech yn cael ei wneyd, ac hyd yn hyn gyda llwyddiant, i helaethu y fasnach gyda'r fam wlad, ac i agor marchnadoedd newydd mewn rhanau eraill o'r byd. Y mae cynyrch y pysgodfeydd, y mwn-weithfeydd, a'r coedwigoedd hefyd yn cael eu hallforio hyd i swm mawr yn flynyddol; ac y mae y gwaith llaweithfaol yn un tra phwysig a chynyddol, yn neillduol yn y taleithiau dwyreiniol, ac yn cynwys agos i bob nwydd ag y gellir meddwl am dano. Nid ydyw yn angenrheidiol ymestyn y rhagymadrodd hwn, neu i dalfyru y gwahanol Adroddiadau; rhaid gadael iddynt siarad drostynt eu hunain. Y maent hwy yn son am Canada, fel y gwelwyd hi gan amaethwyr profiadol; cyfeiriant, nid yn unig at ei manteision, ond hefyd at ei hanfanteision, o herwydd nid oes un wlad heb yr olaf, mewn rhyw ddull neu fodd. Y mae yn ddiogel dyweyd, pa fodd bynag, fod gan Canada lai o ddiffygion na llawer rhan arall o'r byd; ac y mae yr haeriad hwn yn cael ei attegu gan y farn ffafriol a amlygir yn gyffredinol gan y Ddirprwyaeth. Bydd i'r rhai hyny a ddarllenasant adroddiadau y ffermwyr ymwelasant â Canada yn 1879 a 1880, allu sylweddoli y cynydd dirfawr sydd wedi cael ei wneyd er yr amser hwnw—pan yr oedd y wlad eang i'r gorllewin o Winnipeg, heb gyfleusterau rheilffordd ond am ychydig o filltyroedd, a phan yr oedd cyssylltiad uniongyrchol â Dwyreinbarth Canada, trwy diriogaeth Brydeinig, heb ei gwblhau. Y mae cryn gynydd, hefyd, wedi cymeryd lle er y flwyddyn 1890, pryd yr ymwelodd y ddirprwyaeth flaenorol â'r wlad.

Dymuniad Llywodraeth Canada, pan yn gwahodd y ddirprwyaeth, oedd rhoddi o flaen y cyhoedd hyspysrwydd o natur annibynol a theilwng o ymddiried, am yr hyn ag y mae Canada yn ei addaw, fel lle i bersonau fyddo yn dymuno cyssylltu eu hunain â materion amaethyddol, i sefydlu ynddo, a chredir y bydd i'r ymdrech yma o eiddo y Llywodraeth gael ei werthfawrogi gymaint ag ar yr achlysuron blaenorol. Yn Mhrydain Fawr a'r Iwerddon, y mae arwynebedd y tir yn gyfyngedig, tra y mae y boblogaeth yn fawr ac yn gynyddol; yn Canada, ar yr un pryd, nid oes ond poblogaeth o bum' miliwn, gyda channoedd o filiwnau o aceri o'r tir mwyaf cynyrchiol yn y byd, yn disgwyl am ddynion i'w ddiwyllio, ac yn alluog i gynyrchu digonedd o'r yd a dyfir mewn hinsawdd dymherus, er daioni dynolryw. Nid oes bellach i'w ddyweyd, ond y bydd i unrhyw bersonau (o'r dosparthiadau i ba rai y mae Canada yn cynyg cymaint o gyfleusterau) a benderfyno symud eu cartrefi yno gael croesaw cynes yn mhob rhan o'r wlad, a bydd iddynt ar unwaith sylweddoli nad ydynt ddieithriaid mewn gwlad estronol, ond eu bod yn mysg eu cyd-ddeiliaid Prydeinig, gyda'r un iaith, yr un arferion, a'r un teyrngarwch i'r Frenhines, ag yn yr Hen Wlad.



**Qu 'Appelle Valley.**—Y mae Qu 'Appelle Valley yn sefyll ond siwrna rhyw ychydig oriau oddi wrth Regina (3,500 o boblogaeth), prif dref y Taleithiau Gogledd-Orllewinol.

*Am hyspysrwydd cyffredinol yn nghylch Canada, a chynghorion i'r rhai sydd yn bwriadu ymfudo, gwel Attodiad, tudalen 43. Yn ychwanegol at Adroddiadau y Dirprwywyr y cyfeiriwyd atynt, gellir cael hefyd Adroddiadau y Proffeswr Long, yr awdurdod adnabyddus ar Amaethyddiaeth, a'r Proffeswr Wallace, Proffeswr Amaethyddiaeth a Chynildeb Gwledig, o Brifysgol Edinburgh—yr hwn a dalodd ymweliad â Chanada yn 1893,—gan unrhyw un o Oruchwylwyr y Llywodraeth.*

# ADRODDIAD

## Mr. John Roberts, C.S., Plas Heaton Farm, Trefnant, R.S.O., Sir Ddinbych, Gogledd Cymru.

---

Yn mis Awst diweddaf, cefais yr anrhydedd o'm dewis gan Syr Charles Tupper, fel dirprwywr dros amaethwyr Gogledd Cymru, i ymweled a Llywodraeth Canada, gyd a'r amcan o roddi i'm cydwladwyr ac eraill ar ol hyny, y cyfryw wybodaeth am y lleoedd yr ymwelwyd a hwy, ag a allai fod yn fuddiol i'r rhai hyny ag oedd yn bwriadu ymfudo.

Fy mwriad ydyw—ac yr wyf yn sicr mai hyn ydyw dymuniad Llywodraeth Canada—rhoddi barn ddiduedd am y gwahanol ardaloedd, pa un bynag fyddo ai ffafriol ai anffafriol, ac nid, fel y gwneir yn rhy aml, tynu darlun prydferth fyddo ai seiliau yn dibynu mwy ar y dychymyg nag ar ffeithiau. Bydd yn naturiol i mi, fel yr unig Gymro yn y cwmni o chwech o ddirprwywyr, gyfeirio fy sylwadau yn fwyaf neilltuol at Gymry, a dichon y bydd iddynt hwy eu deall yn well na'u brodyr amaethyddol yn Lloegr, yr Iwerddon, neu Yscotland.

**Y Fordaith.**—Yn fuan ar ol pedwar ar gloch, prydnawn y 24ain o Awst, cychwynasom (sef y chwe dirprwywr) o Lynlleifiad, ar ein taith hir, mewn agerddlong perthynol i Gwmni y Dominion. Ei henw ydoedd y "Vancouver." Yr oedd ar fwrdd y llong ardderchog hon dros naw cant o eneidiau (943), a da oedd genyf weled ei bod yn cael ei llywodraethu gan un o'm cydwladwyr, sef Capten Williams. Yr oedd ar y bwrdd bersonau yn cynrychioli agos i bob cenedl yn Europe. Yr oedd tywysogaeth Cymru yn cael ei chynrychioli yn neilltuol, gan fod genym ar y bwrdd, ddau or rhai mwyaf enwog yn mhlith corau lliosog Cymru. Y rhai hyny oedd Cor y Penrhyn o'r Gogledd, a Chor y Rhondda o'r Dehau. Gyda nodau tanbeidiawl "Codwn hwyl" gan y corau hyn, yr hwyliasom allan o'r doc, ac i lawr yr afon. Yr oedd y corau ar eu ffordd i "Ffair y Byd" yn Chicago, ac y mae y modd yn mha un y bu iddynt ddal i fynu enw da eu gwlad, yn yr arddanghosiad mawr hwnw, erbyn hyn yn hen hanesyddiaeth. Y mae mordaith ar draws yr Atlantic wedi cael ei desgrifio mor aml, fel na bydd i mi ond dyweyd ychydig eiriau yn ei chylch. O'm rhan fy hunan, bum yn neilltuol o ffodus, gan na fum yn dioddef am gymaint ag awr, wrth fyned nag wrth ddychwelyd, oddi wrth y clefyd garw hwnw—clefyd y mor. Yr oedd tua haner y teithwyr yn glaf, mwy neu lai, am tua deuddydd, a chyd a hyn yna o eithriad, yr oedd y fordaith yn un hynod o bleserus o'i dechreu i'w diwedd. Pasiodd y noson gyntaf ar y mor heibio yn dawel, cawsom olwg dda ar "Fryniau'r Werddon," ac yr oedd gwlad y Gwyddelod yn cadw yn ein golwg trwy

yr oll o'r diwrnod hwnw. Galwasom mewn lle or enw Moville (tref fechan Wyddelig) am lythyrau, ac yna agerddasom yn mlaen i fynwes yr Atlantic. Y boreu canlynol, nid oedd tir i'w weled mewn unrhyw gyfeiriad. Hwyrach y byddai gair neu ddau am y bywyd a arweinir ar fwrdd un o'r llongau mawrion hyn, o ryw gymmaint o fudd i'm cydwladwyr, i bu rai y mae y fordaith, yn aml y rhwystr penaf i ymfudiaeth. Yn y llong, gelwir yr ystafell wely yn *State Room*, ac y mae yn mhob un ddau wely, y naill uwchben y llall. Y maent yn hollol gyfforddus, ac y mae cwsg pan y mae un yn cael ysgwyd ei gryd ar y weilgi, mor adfywiol, a phe buasai ar ddaear sefydlog. Y mae y prydau bwyd i'r dosparth uchaf, fel y canlyn:—boreubryd wyth or gloch, canol bryd (*lunch*) un, a chiniaw, chwech. Bwyteir y tri phryd hyn yn yr ystafell-giniaw fawr, ac y mae y gogyddiaeth gystal ag a geir yn y gwesttai goreu. Rhwng y prydau, y mae pob un yn ymddifyru yn ei ffordd ei hun: rhai yn darllen, rhai yn chwareu *games*, rhai yn cerdded ol a blaen ar y dec, ac eraill yn difyru eu hunain gyd ag ymddiddan neu gerddoriaeth. Ni raid cydffurfio yn fanwl a moesddeddfau cymdeithas ar fwrdd llong, ac nid ydyw yn angenrheidiol i un teithiwr gael cyflwyniad ffurfiol i deithiwr arall. Disgwylir i bob un "wneyd ei hunan gartref" gyd ai gyd-deithwyr.

Pasiodd y fordaith heibio heb unrhyw ddigwyddiadau gwerth eu cofnodi. Cafwyd golygfa ardderchog pan yn agos i Ynys Belle. Yr oedd nifer o rewfryniau (*icebergs*) yn y golwg, ac nid yn fuan yr anghofir yr olwg arnynt pan dywynai yr haul. Yr oedd yn hawdd teimlo eu presenoldeb hefyd, gan i'r tymheredd fyned i lawr amryw o raddau ar unwaith. Yr oedd y fordaith i fynu yr afon St. Lawrence yn hyfryd dros ben; ar bob ochr gellid gweled tai bychain, ond clyd y Canadiaid Ffrancaidd. Glaniwyd y llythyrau yn ystod y nos, mewn tref fechan or enw Rimouski, ond ni bu y ffaith hon yn wybyddus i'r un or teithwyr ar y pryd, gan eu bod yn trwm gysgu yn eu gwelyau. Y noson olaf ond un o'r fordaith, bu genym gyngherdd ar y bwrdd, yn mha un y cymerodd amryw o aelodau y corau Cymreig ran; mwynhawyd gwaith y telynor Cymreig yn chwareu, yn fwy na dim.

**Quebec.**—Ein harosiad gwirioneddol cyntaf oedd yn Quebec, pa le a gyrhaeddasom ar yr ail ddydd o Medi, ac yma y glaniwyd teithwyr y dosparth isaf, a'r rhai hyny oeddynt ar eu ffordd i Chicago. Nid oedd genym ond ychydig oriau yma, ond llwyddasom i weled prif olygfeydd a mannau hynod y dref, megys Gwastadeddau Abraham, Cofgolofnau Wolfe a Montcalm, y Basilica, y Fagnelfa, &c., &c.

**Montreal.**—Boreu drannoeth, gadawsom Quebec, ar fwrdd y "Vancouver" am Montreal, yr hwn le a gyrhaeddasom ganol dydd Sul, Medi y 3dedd, deg diwrnod ar ol gadael Llynlleifiad. Y mae Montreal yn dref sydd yn cynhwys 250,000 o drigolion, a hi ydyw Llynlleifiad Canada. Y mae ynddi rai adeiladau ardderchog, ac yn eu mysg rai o'r eglwysydd harddaf yn y byd. Ar ol ciniaw aethom i weled eglwys y Notre Dame, ac i wrandaw y gwasanaeth yno. Yr oedd y canu yn dda iawn. Yr oedd y gwasanaeth yn cael ei gario

yn mlaen yn yr iaith Ffrengig, ac yr oedd yr adeilad o fewn ac allan, yn dra addurnol. Yn yr hwyr aethom i Eglwys y Jesuitiaid. Nid ydyw hon gymmaint, ond y mae yn fwy drudfawr o bossibl, na'r llall, ac y mae ynddi amryw o ddarluniau rhagorol. Cawsom hefyd weled pontydd Montreal, a lleoedd eraill o ddyddordeb. Y ffordd fwyaf cyffredin o fyned o'r naill le i'r llall yn y dref hon, ydyw gyd a'r cledrffyrdd trydanol (*electric tramways*); yn wir, mor fawr ydyw yr awydd am wasanaeth y trydan yn y lle, nes ydyw y polion ar gwifrau, ar hyd yr heolydd, yn fy marn i, yn hollol hagr, ac anymunol. Cyfrifasom gant o wifrau ar un polyn, wedi eu rhanu yn ddosparthiadau o ddeg. Dydd Llun, bu i ni ymweled a gorsaf Rheilffordd y *Grand Trunk*, gorsaf Rheilffordd Canada a'r Tawelfor, gwestty Windsor, a chathedral St. Pedr, pa un a gymerodd 25ain o flynyddoedd iw hadeiladu. Dywedir ei bod o'r un cynllun ag eglwys St. Pedr, yn Rhufain. Nid ydyw etto wedi ei chwbl orphen. Aethom hefyd i fynu y "Mynydd Brenhinol" mewn "dyrchafydd" (*elevator*). A hwn i fynu bron yn unionsyth, am 900 troedfedd. O ben y mynydd cawsom olwg dda ar y wlad oddeutu afon St. Lawrence, Pont Buddug, —y bont bibellol hwyaf yn y byd, yn filltir a haner o hyd—wedi ei hadeiladu o haiarn, ac yn pwyso 8000 o dunelli, &c., &c.



Y SENEDD-DY, OTTAWA.

**Ottawa.**—Gadawsom Montreal, prydnhawn dydd Llun, gyd a'r rheilffordd, am Ottawa, eisteddle y Llywodraeth Ganadaidd. Cymerodd y siwrnai bum awr i'w thrafaelio, a chyrhaeddsom yno yn hwyr yr un diwrnod. Yma cawsom ymddiddan gyd ag amryw o swyddogion y Llywodraeth, ac yn eu plith, Syr A. Caron, y Llythyrfeistr Cyffredinol. Boreu dranoeth aethom i ymweled a Fferm Arbrawfiadol Ottawa, yr

hon sydd gyfagos i'r dref. Yn anffodus, yr oedd gwlawogydd anarferol o drymion wedi disgyn yr wythnos cyn i ni gyrhaedd yno, ac wedi dinystrio amryw o gnydau, fel na chawsom weled y fferm yn ei gwisg



FFERM ARBRAWFIADOL, OTTOWA.

oreu. Mr. W. Saunders ydyw rheolwr y fferm, ac y mae yn byw arni. Y mae nifer o swyddogion eraill yn byw ar y fferm megys llysieuydd, fferyllydd, trychfilofydd, dirprwywr llaethdai, &c., &c. Y mae y gweithdy yn adeilad hardd, ac wedi ei ddodrefu ar celfi goreu er profi ansawdd tir, gwrtaith, &c., ac er gwneyd arbrawfion ar borthiant, teiseni, a chynyrch amaethyddol yn gyffredinol. Y mae y sefydliad hwn o werth mawr, er cael allan yr hadau mwyaf priodol i wlad ag sydd yn gymhariaethol newydd, er darganfod pa drychfilod sydd yn niweidiol, a pha rai sydd heb fod, i gnydau a thyfiant, er dewis yr annifeiliaid mwyaf cymhwys i'r tywydd a'r borfa, ac mewn amryw o ffyrdd eraill. Mewn un flwyddyn yn unig, fe ranwyd o'r fferm hon 16,905 o samplau o rawn, pa rai a anfonwyd mewn parseli tri phwys yr un, i wahanol rannau o'r Llywodraeth. Y mae nifer llusog iawn o goed ffrwythau hefyd wedi eu tyfu, eu dosparthu, ac adroddiad wedi cael ei wneyd yn eu cylch. Yn eu mysg y mae amryw ganghenau o'r winwydden.

**Toronto.**—Gadawsom Ottawa nos Fawrth, Medi 5ed, ac aethom i Toronto. Y mae hon yn ddinas fawr, ac yn cynhwys oddeutu 19,000 o drigolion. Y hi ydyw prif dref Ontario, ar ail dref yn Canada. Yn wahanol i Montreal, lle y mae mwyafrif y trigolion yn Ganadiaid Ffreingig, y mae Toronto yn cael ei phreswylio yn benaf gan Saeson,

Yscotiaid, a Gwyddelod, ar iaith Seisnig sydd yn cael ei defnyddio bron yn ddieithriad. Y mae yma amryw o law weithfeydd. Yma y gwneir y rhan fwyaf o'r offer amaethyddol a ddefnyddir yn Canada; y prif rai yn y cyfeiriad yma ydynt y Mri. Massey, Harris au Cyf. Yr oedd yma arddangosfa amaethyddol yn cael ei chynhal, pan oeddym yno. Yn Canada, y mae yr Arddangosiadau amaethyddol hyn, yn wahanol i'n rhai ni; y maent yn gyfuniad o'n harddangosiadau ni gyd ag arddangosiadau o flodeu, pysgod, a phethau eraill, ynghyd a chwareuon gwladol. Yr oedd yno arddangosiadau mewn marchogaeth gan y



TORONTO.

*Cowboys*, yr Indiaid, ac amryw eraill. Yr oedd amryw o'u gorchestion gyd a cheffylau, yn rhai nodedig; yr oedd ganddynt gystadleuaeth mewn trotian, yn mha un yr oedd y cystadleuwyr yn eistedd mewn cerbydau ysgeifn neilltuol, ac yn sefyll ugain ochr yn ochr. Yr oedd yma hefyd adloniant cerddorol, yn cynrychioli gwahanol genhedloedd, perfformiad ar y rhaff dŷn, a "than gwyllt." Yr oeddym yno yn rhy fuan i weled yr anifeiliaid, ac yr oedd pigion y dalaeth wedi cael eu hafon i Chicago, yn mha le, clywsom ar ol hyny, y rhoddasant gyfrif da am danynt eu hunain. Yr oedd yr offer amaethyddol a welsom yn yr arddangosfa hon yn ysgafnach na'n rhai ni. Y mae agos yr oll o'r wagenau wedi ei gwneyd i ddau geffyl yn cerdded ochr yn ochr. Yn ystod ein holl deithiau, ni ddarfu i ni gyfarfod a chymaint ag un drol neu wagen, a'r ceffylau yn cerdded y naill ar ol y llall, ond ochr yn ochr, ar gwagenwr bob amser yn eistedd yn ei wagen.

**Rhaiadr Niagara.**—Ar y 6ed o Fedi, darfu i ni groesi Llyn Ontario mewn agerlong, i'r dyben o gael gweled Rhaiadr y Niagara. Ar y ffordd cawsom y profiad cyntaf o ystorm o fellt a tharanau yn Canada. Yr oedd y gwlaw yn dod i lawr yn genllifoedd. Ar lan yr afon gwelsom berllanau o erllig, eirin gwlanog, afalau, a ffrwythau eraill, a rhai gwinllanoedd rhagorol. Y mae yr amaethwyr yn gosod y ffrwythau hyn, yn enwedig yr eirin gwlanog, mewn basgedau bychain, rhad, a hardd, ac yn eu gorchuddio â mwslin. Edrycha y rhai hyn yn ddeniadol dros ben, ac y mae yn amlwg, fod ffermwyr Ontario yn deall sut i ddenu cwsmeriaid. Nid wyf am ddyweyd gair am raiadr y Niagara. Y mae miloedd o ddesgrifiadau o hono wedi cael eu hysgrifenu. Methiant ydyw y rhan fwyaf o honynt, a methiant fyddai fy un innau, pe y meiddiwn ysgrifenu un. Ar ol gweled y rhaiadr o wahanol gyfeiriadau, dychwelasom i Toronto.

**Winnipeg.**—Ar y 7fed, cychwynasom o Toronto, yn yr hwyr, am Winnipeg, trwy y Bau Gogleddol. Taith hir gyd a'r rheilffordd ydoedd hon, yn cymmeryd tair noswaith a dau ddiwrnod. Nid ydyw y rhan fwyaf o'r tir oddeutu y llinell, yn gymhwys i ymfudwyr, gan ei fod wedi bod unwaith yn goedwig fawr, yr hon ryw bryd a ddistrywiwyd gan dan. Yr oedd gwraidd llosgedig y coed i'w gweled am gannoedd o filltyroedd. Yr oeddym yn myned heibio nifer mawr o lynoedd, yr oll o ba rai oedd yn ymddangos fel yn llawn o bysgod, ac felly hefyd yr afonydd oeddym yn eu croesi. Yn y rhan hon o'r wlad yr oedd amryw fathau o fwn i'w weled, yn enwedig y mwn a elwir "Nickel." Canada ydyw y lle goreu yn y byd am y mwn hwn. Y mae y fasnach mewn coed hefyd yn un bwysig. Yr oeddym yn myned heibio Caer William, yn mha le y mae amryw o "ddyrchafyddion grawn" (*grain elevators.*) Y mae y mwyaf o honynt yn perthyn i gwmni Rheilffordd Canada a'r Cefnfor Tawelog, yn ddeg uchder lloft, ac yn alluog i gynhwys 3,700,000 o fwsieli o rawn. Y mae y grawn yn cael ei gario mewn tryciau amgauedig, a gwagbeir hwynt i gwpanau sinc, yn rhedeg ar gylchdro diderfyn. Cyrhaeddasom Winnipeg ar Sabboth y 10fed o Fedi, a gwnaethom ein cartref yn ngwesty "Manitoba," yr hwn sydd yn un o'r rhai harddaf yn Nghanada. Yr oedd yn ddiwrnod cynes, ac yr oedd y gwresfesurydd yn cofrestru 90 o raddau yn y cysgod. Yr oeddwn wedi teimlo yr un gradd o wres ychydig o ddyddiau cyn cychwyn oddi cartref, ond nid oedd y gwres yn Winnipeg agos mor lethol ag ydoedd gartref. Profiad cyffelyb oedd eiddo fy nghyd-ddirprwywyr.

Y mae Winnipeg yn sefyll ar lan yr Afon Assiniboine â'r Afon Goch. Yn y flwyddyn 1871, rhifai y boblogaeth 400, yn awr y mae yn 30,000. Y hi ydyw prif dref Manitoba, ac ynddi y cyferfydd y Senedd Dalaethol. Y mae y brif heol yn hir iawn, gyd a phedair o gledr-linellau yn rhedeg ochr yn ochr. Nis gallaf ddyweyd fod yr heolydd mewn cyflwr da, fel arall yr oeddynt. Yr oedd llyniau o ddwfr arhosol ar yr heolydd yn rheol, ac nid yn eithriad. Talasom ymweliad ag ystordy cig moch, yr hwn sydd yn gallu trin 200 o foch bob dydd. Meddienir ef gan Mri. J. T. Griffin ai Gyf, ac y mae yn adeilad o

briddfeini, 100 trodfedd wrth 60 trodfedd, ac yn dri uchdwr lloft. Y mae y lloft uchaf yn cael ei defnyddio fel "trysordy oer." Gyrir y moch i fynu trwy dramwyfa i'r adeilad, a phob un i gorlan neillduol. Yno rhwymir y mochyn gerfydd ei droed ol, a dirwynir ef i fynu, nes cyrhaedd y rheilffordd uwchben. Yno y mae dyn yn sefyll, a chyllell finiog yn ei law, ac mewn ychydig o eiliadau bydd yr "archoll farwol" wedi cael ei rhoddi. Ar ol i'r gwaedu ddarfod, tynir y rhwymau ymaith, a gollyngir y mochyn i lawr i ffwrnes o ddwfr berwedig. Oddi yno a ar hyd ffordd haiarn, i le ag y mae pedwar o ddynion yn ei ddisgwil. Tyn y rhai hyn bob blewyn ymaith oddiarno. Y mae etto siwrnai ar y rheilffordd i'r mochyn druan, ac ymosoda tri o ddynion arno, gyda chyllyll a dwfr oer. Bydd y cyfan drosodd yn mhen deng munyd ar ol i'r mochyn fyned i'r adeilad gyntaf. Gadewir y cig yn y 'lloft oer,' cyn ei halltu ai dori. Yna anfonir ef i ffwrdd, i Loegr a mannau eraill, i ymddangos ar lawer



WINNIPEG.

bwrdd fel 'bacwn cartref.' Cymerai ormod o'n gofod i ddesgrifio pa ddefnydd a wneir o holl rannau yr anifail. Y mae sefydliad o'r fath hwn yn anmhrisiadwy mewn gwlad fel hon, lle y mae gwenith yn cael ei dyfu mor helaeth. Trwyddo, gall y ffermwyr droi ei holl wehilion yd, yn arian. Y pris oedd yn cael ei roddi am foch pan oeddym ni yno, oedd 5 cent, neu 2½c. y pwys, yn fyw.

**Stonewall.**—Ar yr 11eg aethom mewn cerbyd allan o Winnipeg ar hyd tir gwastad (a fu unwaith yn waelod llyn) i Stonewall. Yn agos i Winnipeg, cyfarfuasom a gyroedd mawr o wartheg, y rhai a elwid, "gyroedd y dref." Y mae gan agos bob tyddynwr yn Winnipeg, fuwch, pa un a anfonir i bori ar y gwastadle bob boreu, gyd a'r gyr, a dychwelir hi i'w pherchenog yn yr hwyr. Tywodglai tywyll ydyw y pridd gan mwyaf, a chan ei fod yn gyfagos i'r dref, delir ef gan anturiaethwyr am bris uchel. Ar y ffordd, aethom heibio i amryw o

ffermydd, a rhai cnydau da iawn o wenith a cheirch. Yn Stonewall y gwelsom gyntaf nifer o'r Indiaid brodorol. Preswyliant mewn pebyll, ac y maent yn awr yn gartrefol a diniwaid. Y maent yn byw yn benaf ar saethu a hela. Tra yn y lle hwn, talasom ymweliad a fferm yr Anrhyd. S. J. Jackson, Llefarydd y Senedd Dalaethol. Ffurfiasom ein disgwiliadau yn ol syniadau Prydeinig, a chawsom ein siomi. Yr oeddym yn disgwyl gweled boneddwr mewn brethyn du, a menyg am ei ddwylaw. Dim or fath beth. Cawsom hyd i Mr. Jackson yn ei gae gwenith, yn cynorthwyo i osod y peiriant dyrnu yn ei le erbyn y boreu. Prin y gallem ei adnabod oddiwrth y gweithwyr eraill, na deall pa un ai croengoch, neu groenwyn ydoedd, oherwydd ei fod wedi ei orchuddio â baw a llwch. Gwelsom fod Mr. Llefarydd yn ffermwr nwyfus, yr hwn nad oedd gywilydd ganddo weithio ai ddwylaw ei hun. Yr oedd ef ei hun, gyd ai beiriant, wedi tori a rhwymo 150 o aceri o wenith. Yr oedd hefyd wedi aredig 50 o aceri ei hunan. Y mae yn gweithio y fferm gyda chynhorthwy un dyn yn gysson, bachgen yn y gwanwyn, a dyn arall amser cynhauaf. Ceidw ychydig o wartheg, a phesga lawer o foch. Yn hyn y mae yn annhebyg i'r mwyafrif o ffermwyr Manitoba, pa rai sydd yn dibynu yn hollol ar dyfu gwenith. Erbyn hyn y maent yn dechreu gweled eu camgymeriad. Fe ddylai ffermwr yn Manitoba, fel yn y wlad hon, fod a rhywbeth yn ei feddiant i'w droi yn arian bob dydd.

Yn yr hwyr, cymerodd y Llefarydd ni i'w dy, yr hwn oedd yn adeilad hardd, ac yn llawn o holl gysuron bywyd. Oi flaen yr oedd lawnt hyfryd yn cael ei gadw yn daclus i'r dyben o chwareu *croquet* a *tennis*, ac yma, meddai Mr. Jackson, y byddai y teulu yn mwynhau eu hunain yn min yr hwyr. Nis gallodd Mrs. Jackson roddi i ni lawer o'i chwmni, gan ei bod yn brysur yn parottoi i'r dwylaw oedd yn gweithio ar y fferm. Fel ei gwr, yr oedd yn amlwg nad oedd arni hithau ofn gwaith. Aroshasom y noson hon yn ngwestty Stonewall.

**Y Benydfa.**—Ar y 12fed aethom allan mewn cerbyd i weled y Benydfa, yn y Mynydd Carregog. Yma yr oedd tua chant o droseddwyr, ac un o honynt (pa un a welsom) o dan ddedfryd marwolaeth. Y mae y carcharorion yn gweithio ar y fferm fel llafurwyr cyffredin. Gwelsom bedwar neu bump o honynt gyd a'r gweddi yn y maes yn aredig; yr oedd dau o honynt gyd a'r ychain, yn eu gyru, tra y daliai un arall yr aradr. Y mae gwylwyr bob amser yn agos atynt, gyd a drylliau llwythog yn eu dwylaw. Yr oedd hefyd warchodlu ar feirch yn y maes. Pur anaml y mae carcharor yn diangc. Yr oedd y cnydau ar y fferm hon yn rhai rhagorol. Ychydig o gynyrch y tir sydd yn cael ei werthu, gan fod agos yr oll yn cael ei ddefnyddio yn y lle. Y mae Col. Irvine, y llywodraethwr, o'r farn y dylai y sefydliad fod yn hunangynhaliol. Nis gallwn beidio dod i'r penderfyniad, fod y dull hwn o drin troseddwyr, yn llawer gwell, na'r dull cartrefol. Cedwir y carcharorion gyd a gwaith rhesymol, defnyddiol, ac amrywiol, yn lle eu gorfodi i fod byth a hefyd yn pigo carth neu yn troi olwyn. Yn Canada y maent yn alluog i gadw eu hunain, ac nid ydynt yn faich ar y wlad, cyfreithiau pa un y maent wedi eu tori.

**Sefydliad Selkirk.**—O'r Benydfa, aethom yn nghyfeiriad yr Afon Goch, a thalasom ymweliad a Sefydliad Selkirk. Yma gwelsom dir ag oedd wedi bod o dan ddiwylliant am 70ain o flynyddoedd, ac er na chafodd erioed ei wrteithio, yr oedd yn cynyrchu y flwyddyn hon ganolswm o 30ain bwsiel ir acer. Y mae y rhan fwyaf o amaethwyr y lle hwn, wedi myned i gadw llaethdai, gan eu bod yn cael marchnad dda i'w hymenyn yn Winnipeg. O'r Afon Goch aethom yn ol i Winnipeg. Y mae ceffylau yn trafaelio yn gyflymach yma, ac nid ydynt byth bron yn blino, ou cydmaru a'r hen wlad. Y mae y wlad yn wastad, ac nid oes ynddi ffyrdd, dim ond ol-lwybrau (*tracks*). Y mae y llawr, er yn ddigon caled a sefydlog, etto yn oer a meddal i draed y ceffylau. Yr oedd genym ddau geffyl bob amser pan yn teithio mewn cerbyd.

**Killarney.**—Ein symudiad nesaf oedd i Killarney, ar y 13eg. Ar ein ffordd yno, yr oeddym yn myned trwy wlad ardderchog i dyfu gwenith. Darfu i ni gyfrif or gerbydres, 30ain cyfres o deisi gwenith, pob cyfres yn cael ei gwneyd i fynu o bedair tas. Aethom heibio hefyd i amryw o gaeau llin. Yr oedd sefydliad y Mennonites ar ein ffordd. Aeth y Mennonites o'r Allmaen i Rwsia, am nad allent gydsynio a deddfau milwrol yr Allmaen. Addawodd Rwsia iddynt, na byddai iddi ofyn am wasanaeth milwrol ganddynt am gan mlynedd. Ar ddiwedd y cyfnod hwnw, rhoddwyd gorchymyn iddynt gyflenwi y fyddin Rwsiaidd a milwyr, ond gwell ganddynt na hyny, oedd ymfudo ir lle hwn, lle y maent wedi profi eu hunain yn sefydlwyr hynod o dda. Ar y dechreu yr oeddynt yn bur dlawd, a rhaid oedd i amryw deuluoedd ymuno au gilydd er gallu prynu y pethau angenrheidiol. Holl gyfoeth rhai a honynt oedd £54, a chyd ar swm hwn, y cymerasant feddiant o'i cartrefleoedd, o 160 o aceri yr un. Cafodd llawer o honynt fenthyg arian gan y llywodraeth, trwy eu cyfeillion Ellmynig yn Ontario; ac er mwyn eu hanrhydedd, bydded iddo gael ei ddyweyd, eu bod wedi talu y corph ar llog er's hir amser. Yn agos i Killarney, talasom ymweliad a gweithdy caws, yr hwn nad oedd mewn bodolaeth, ond er's ychydig dros flwyddyn. I mi, ymddangosai y gwaith hwn, mor debyg o dalu, a dim byd a welais. Y mae y gwartheg yn cael eu hanfon ar y gwastattir i bori, ac nid ydyw hyn yn costio dim iddynt. Y maent yn talu ir Llywodraeth am dori gwair ar dir gwag, yn ol 10 cent, neu bum ceiniog y dunnell. Nid oes ond dau neu dri o ffermwyr yn gweithio y caws-dy hyd yn hyn, ond disgwilir i eraill ymuno, am mai pa fwyaf o wartheg a fyddo yno, goreu oll. Hyspyswyd fi fod un ar partneriaid yn cadw 300 o foch yn yr haf, ar canolbris oedd yn ei dderbyn am danynt oedd 4½ cent. (2¼c.) y pwys. Cadwai hefyd 15 o hychod magu. Yr oedd pob buwch yn rhoddi canolswm o 25/- y mis, am chwe mis. Deg pwys o laeth a wnai un pwys o gaws. Yr oeddynt yn gwerthu eu caws am 10 cent (5c) y pwys, ac yn cael marchnad rwydd iddo. Pris buwch dda oedd 25 o ddoleri—£5. Y mae y rhanbarth hwn yn cael ei ddyfrhau yn dda, gan afonydd a llyniau, ac y mae ynddo ddigonedd o hwyaid gwylltion. Bu i ni ymweled a ffermwr oedd yn saer maen wrth ei alwedigaeth. Rhoddodd i ni y manylion canlynol:—Yn 1890 yr oedd ganddo 120 o aceri o

wenith, y rhai a roddasant 3320, o fwsieli, ac a werthwyd am 75 cent y bwsiel. Yn 1891 yr oedd ganddo 140 o aceri o wenith, y rhai a wnaethant 4380 o fwsieli, ac a werthwyd am 52 cents. Yn 1892, yr oedd ganddo 175 o aceri; yr rhoddi 4,800 o fwseli, ar pris oedd 55 cents. Y flwyddyn hon, yr oedd ganddo 150 o aceri o wenith, a 50 acer o geirch, ac nid oedd y naill na'r llall wedi eu dyrnu pan oeddym ni yno. Yr oedd ei adeiladau yn gynwysedig o un ystabl, a lle i gadw offer amaethyddol; yr oedd y ceffylau, gwartheg, a dofednod oll yn cael eu cadw yn yr un adeilad ond mewn ystolion gwahanol. Yr oedd hyn yn fantais fawr, pan ddoi y tywydd oer i mewn. Yr oedd ganddo 40ain pen o geffylau a gwartheg, a phob un o rywogaeth dda, ac yn cynwys tarw Holstein o waed pur. Y mae y rhywogaeth hon o wartheg yn fwy cyfaddas i'r tywydd a'r wlad na'r un arall; y maent yn hawdd eu pesgi, ac yn rhai da at eu godro. Y mae y ffermwr hwn yn trin ei fferm gyda chymorth un dyn, pa un y mae yn ei gyflogi trwy y flwyddyn, gan dalu iddo gyflog o 210 o ddoleri (£42). Y mae yn llogi dyn arall am saith mis, ac yn talu iddo 20 dolar (£4) yn y mis. Y mae hefyd yn talu 35 dolar (£7) i ddyn arall am fis o gynhauaf. Pan ddechreuodd ffermio yma, yr oedd yn rhaid iddo gario ei wenith i Brandon, pellder o 60 millitir, ond yn awr ar ol i Reilffordd Souris gael ei gwneyd, y mae o fewn 'pum' milltir i orsaf rheilffordd. Talodd 345 o ddoleri (£69) am ei beiriant tori a rhwymo yd; ond yn awr gallai brynu un am 130 o ddoleri (£26). Yn yr hwyr y diwrnod hwnw daeth amryw o amaethwyr y gymydogaeth attom i'r gwestty, ac yr oedd pob un o honynt yn llawn o foliant ei ardal ei hun. Yn wir, ar hyd y daith, yr oedd pob ffermwr a gyfarfyddem, yn ceisio ei oreu i'n hargyhoeddi, mae ei gymydogaeth ef ei hun, oedd yr oreu yn yr holl greadigaeth.

**Sefydliad y Croftwyr Albanaidd.**—Ar y 14eg cyrhaeddasom i Sefydliad y Croftwyr Albanaidd, a buom yn ymddiddan a rhai o honynt. Ar y ffordd ymwelasom a fferm mewn dyffryn, perchenog pa un oedd wedi dechreu ei fywyd fel llyfrwerthydd yn Llynlleifiad. Yr oedd wedi dewis lle hyfryd i'w fferm. Yr oedd ar lan llyn, ac yr oedd nifer lliosog o goed yn tyfu o gwmpas, pa rai oedd yn gysgod nodedig o dda iw anifeiliaid. Yr oedd yn awr yn adeiladu ty newydd o briddfeini uwchben y llyn. Ar fin y dwfr, yr oedd ganddo gegin-ardd fawr, yn mha un gwelsom Bompiynau (Melons) ardderchog yn tyfu yn yr awyr agored, heb ddim cysgod. Yr oedd wedi dyrnu 2,200 o fwseli o wenith oddiwrth 107 acer o dir, a 1,500 bwsel o geirch oddiwrth 33 acer. Y mae yr orsaf agosaf at ei fferm wyth milltir i ffwrdd. Yn agos ir lle hwn gwelsom beiriant hunan-rwymol yn tori gwair, pa un ar ol hyny a osodid i fynu yn ystyciau ar y maes. Glaswellt y gwastadedd ydoedd, ac yn bum' troedfedd o uchder. Yr oedd y tir rhwng y fferm hon a gorsaf Belmont yn dlawd, y pridd yn ysgafn, ac yn llawn o halod (*Alkali*).

**Sefydliad Iceland.**—Wrth adael Belmont, ymranodd ein cwmni yn ddwy ran, ac aeth un rhan heibio y Sefydliad Icelandaidd, yr hwn sydd wedi troi allan yn llwyddiant. Gwna yr Icelandiaid sefydlwyr da, gan eu bod yn galed, tawel, ac yn weithwyr sefydlog.

**Glenboro'.**—Fel yr oeddym yn neshau at Glenboro', yr oedd y tir yn gwella, ac ar bob ochr yr oeddym yn gweled teisi o wenith yn barod iw ddyrnu. Treuliasom y noson yn Glenboro', a boreu dranoeth—y 15fed —aethom i weled amryw o ffermydd, ag oedd tua thair milltir oddi yno. Yr oedd y rhai hyn, gan mwyaf, yn cael eu ffermio gan ddynion ieuaingc oedd wedi methu pasio eu harholiadau, i'r naill neu y llall or proffeswriaethau dysgedig, yn y wlad hon. Yr oedd ganddynt dai da, ac ymddaughosent yn dra chysurus. Ond yr oeddynt yn cwyno fod y cynhauaf wedi troi allan yn siomedig. Hyd o fewn y pymthegnos i'r adeg hwn, yr oedd y gwenith yn edrych yn dra addawol. Yn y rhan hon o'r wlad, ymddengys eu bod wedi dioddef cryn lawer gan y sychder. Daeth gwyntoedd cynhes, ac addfedodd y grawn yn rhy fuan a sydyn. Pan oedd y gwenith yn cael ei dori, syrthiai y grawn o'r tywysenau i'r llawr, ac felly collid ef; mewn rhai amgylchiadau collwyd o un ran o dair i'r haner. Mewn amryw o'r maesydd, yr oedd gwyneb y tir wedi ei orchuddio a gwenith. Yr oedd gwraig un o'r ffermwyr hyn yn foneddiges, ac a oedd wedi ei dwyn i fyny yn un o drefydd mawr Lloegr. Ar ol hyn ymwelasom a "Dyrchafydd y Ffermwyr." Yr oedd hwn wedi cael ei godi gan nifer o ffermwyr, oedd yn anfoddlawn i'r driniaeth oeddynt wedi ei dderbyn gan berchenogion "dyrchafyddion" (*elevators*) eraill, sef cwmni o fasnachwyr yd, a chwmni melinau Ogilvie.

---

**Souris. Amaethwyr Cymreig.**—Yn Souris, yr hwn oedd y lle nesaf i ni aros ynddo, y mae tri o Amaethwyr Cymreig, a darfu i ni ymweled o hwynt. Y mae dau yn frodyr, ac yn dyfod o Ddeheidir Cymru. Cawsom afael yn y rhai hyn ar ol cryn drafferth, gan eu bod wedi myned



IEIR Y GWASTADEDD.

gyd a nifer o gyfeillion i saethu "ieir y gwastadedd." Hwnw oedd ail ddiwrnod y tymhor, ac yr oeddynt wedi llwyddo i gael 30 o gwplau. Nis gallwn beidio cyffelybu hyn gyd a fy ngwlad fy hun. Yn ein gwlad ni, y mae y ffermwr yn porthi yr helwriaeth, yn eu gweled yn tyfu, ac yna y mae y tir-feddianwr, neu rywun arall ag sydd yn talu iddo am yr

hawl, yn dyfod, ac yn mwynhau y difyrwch, ac yn pocedu yr elw! Yr oedd gan y brodyr hyn fferm o 960 o aceri rhyngddynt. Daethant yno gyd a chyfalaf bychan, ac yn awr, edrychir arnynt fel dau o'r rhai mwyaf llwyddianus yn y gymydogaeth. Ymgeisiodd un o honynt am eisteddle yn y Senedd Ddeddfol. Ni fu yn llwyddianus, ond bu agos iawn iddo ddwyn y sedd oddi ar un oedd wedi bod yn ei meddiannu am flynyddoedd lawer. Gofynais iddynt eu barn ar y priodoldeb o Sefydliad Cymreig yn y lle. Nid oeddynt hwy o'r farn y buasai sefydliad o newydd-ddyfodiaid, yn llwyddianus. Gwell ganddynt hwy fuasai gweled Cymry yn sefydlu eu hunain mewn gwahanol gymydogaethau, lle y gallent gael cymhorth a chynghorion yr hen sefydlwyr. Darfu i ni ymweled hefyd a'r Cymro arall, yr hwn oedd frodor o Ogledd Cymru. Cyn iddo ddod i Canada, yr oedd yn chwarelwr. Ymfudodd un-mlynedd-ar-ddeg yn ol. Ar y ffordd cafodd anwyd, yr hwn a drodd yn enyniant yr ysgyfaint. Ar ol iddo ddod i'r lan, aeth iw wely, ac ni adawodd ef am dair-blynedd-a-haner!. Erbyn hyn yr oedd wedi gwario yr holl arian oedd wedi ei gynhilo yn yr hen wlad. Gwellhaodd, pa fodd bynag, a sefydlodd ar fferm o 160 o aceri, gan ddechreu gyd ag ond un fuwch. Y bumed flwyddyn yr oedd yn tybied ei hun yn dda allan, gan ei fod wedi cynhauafu 15 acer o wenith. Ond yr oedd siomedigaeth etto yn ei aros. Gyd a dau o ychain, cymerodd y gwenith iw werthu 16 milltir o ffordd, ond ni phrynai y masnachwyr ef, gan fod rhew wedi gafael ynddo. Yn awr y mae gan y Cymro hwn fferm o 320 o aceri, ty, ac adeiladau allan da,—cystal ag unrhyw rai yn y gymydogaeth—ac y mae fel y dywedodd, "Mor annibynol ag unrhyw ddyn." Y mae ei wraig yn un rhagorol am wneyd ymenyn, a phob amser yn cael pris da am dano. Y mae wedi gwneyd ei meddwl i fynu i beidio gwerthu ymenyn o dan 25 cents. (1/-) y pwys. Os na lwydda i gael y pris hwnw, ceidw yr ymenyn tan y gauaf. Y ddwy flynedd diweddaf, y mae y ffermwr hwn wedi rhentu fferm arall o 320 o aceri, yr hon sydd yn taro ar ei fferm ef ei hun. Y mae ganddo bump o blant, pa rai sydd yn neilltuol o gyflym a deallgar eu meddyliau. Dywed ei fod yn bwriadu myned i mewn yn fwy am odro, gan fod yd yn bresenol yn rhy isel ei bris i dalu. Aethom o Souris ar yr 16eg, i geisio gweled Cymro arall, ond ar ol cryn drafferth, hysbyswyd ni ei fod wedi gosod ei fferm, ac wedi myned i gymydogaeth arall.

**Brandon.**—Rai milltyroedd cyn cyrhaedd Brandon, gwelsom dir lled dda, ac yr oedd gerddi masnachol yn cael ei cario yn mlaen, o dan amgylchiadau tra ffafriol. Cyrhaeddasom Brandon ar brydnawn dydd Sadwrn, ac ymwelasom ac amryw o'r ystordai, neu y siopau, ac yr oeddynt yn llawer gwell na'r siopau a geir yn gyffredin mewn trefi cyffelyb yn yr hen wlad. Yr oedd yno ystabl logi, gyd a 100 o geffylau. Deuddeg mlynedd yn ol, ein harweinydd ni—Mr. E. P. Leacock—a adeiladodd y ty cyntaf yn y lle hwn. Yn awr y mae yno boblogaeth o 5,400, a'r farchnad yd fwyaf yn Manitoba. Y mae yno bump o "ddyrchafyddion" yd, melin flawd, a melin-lif. Yn agos i'r dref, ar godiad tir, y mae

Gwallgofdy. Y mae yn y dref hefyd amryw o westtai, lle i ysglerio (*Skating Rink*), ac amryw o leoedd o ddifyrwch. Heb fod yn mhell o'r dref y mae y fferm arbrawfiadol, yn cynwys 625 o aceri. Y mae mewn rhan yn nyffryn Assiniboine, ac mewn rhan ar yr ucheldir cyfagos. Sefydlwyd hon yn y flwyddyn 1888, ac er hyny, y mae cynydd nodedig o gyflym wedi cael ei wneyd. Pan ag y bydd y coed ar ochr y ffordd wedi tyfu ychydig ychwaneg, bydd i'r fferm ymddangos yn un dra deniadol. Synwyd ni yn fawr gan y felin-wynt oedd wedi ei chyfodi, gyd a pha un yr oedd yn bosibl crëu gallu 4 i 14 o geffylau. Yr oedd yn hynod hawdd ei thrin. Yma yr oeddynt wedi neillduo 103 o ranau o dir er gwneyd arbrawfion a'r wahanol fathau o wenith, ac yr oedd yr un peth yn cael ei wneyd gyd a cheirch, haidd, &c. Gwnaed arbrawfiadau hefyd gyd a choed ffrwythau, megis, afalau, gerllig, eiryn, eiryn mair, *currants*, &c. Gan fod y tir ar y fferm hon yn cynrychioli y gwahanol fathau o dir yn Manitoba, y mae y fferm, o angenrheidwydd o ddyddordeb a chymhorth mawr i amaethwyr y rhanbarth hon. Y mae nifer yr ymwelwyr (darfu i 4,703 groniclo eu henwau yn ystod deuddeg mis) yn dangos fod y dyddordeb ynddi yn fawr. Ar brydnhawn y dydd hwn gwelsom fferm ddefaid am y tro cyntaf yn Manitoba. Ar ein ffordd yr oeddym yn croesi tir ysgafn a gwael; yn y fferm yr oedd diadell dda o famogiaid, pa rai oedd wedi costio y flwyddyn ddiweddaf i'r perchennog 900 o ddoleri (£180). Dywedai ei fod wedi gwerthu 60 o wyn am 5 dolar yr un (£1), ac yr oedd ganddo mewn ystoc werth 400 o ddoleri (£80) o wyn. Yr oedd ganddo hefyd 100 acer o wenith, ond yr oedd hwn wedi troi allan yn wael. Yr oedd ef o'r farn fod ffermio cymysg yn fwy tebyg i dalu nag unrhyw ddull arall o ffermio, er fod cadw stoc trwy y gauaf yn gostus. Rhaid eu cau i mewn a'u porthi am bum' mis o'r gauaf. Yn yr hâf troir hwy allan i'r gwastadedd, ac nid ydyw hyn yn costio dim. Gwelsom yn y gymydogaeth hon, faesydd o wenith wedi ei dinystrio gan genllysg. Y mae yr ystormydd cenllysg hyn, yn ddirgelwch. Gadawant, hwyrach, ran o gae, heb ei gyffwrdd, tra y bydd y rhan arall wedi ei ddistrywio. Ystormydd lleol ydynt.

**Qu 'Appelle.**—Ar y 19eg gadawsom Brandon am Qu 'Appelle, tref newydd o 950 o drigolion. Ar y ffordd croesasom dir helaeth, ag a oedd etto heb ei ffermio. Y mae y tir hwn yn cael ei ddal gan anturiaethwyr. Hysbyswyd fi, fod y bobl hyn yn rhydd oddiwrth unrhyw drethi, gan nad ydynt yn diwyllio y tir. Yn ol fy marn i, y mae yn galed iawn fod ffermwyr gweithgar yn cael ei gorfodi i dalu trethi, tra y mae yr anturiaethwyr hyn yn rhydd. Gwell fuasai cyfnewid a gwrthdroi y drefn hon, trwy roddi y trethi ar y tir nad ydyw yn gwneyd dim, ac felly orfodi ei berchennogion iw roddi yn y farchnad. Yn bresennol y mae fod y tir yn cael ei ddal fel hyn, yn gorfodi ffermwyr i fyw yn mhell o'r gorsafoedd. Hefyd, mae tir sydd yn cael ei adael yn achosi fod "gophers,"—dosparth distrywgar o annifeiliaid yn cael eu magu. Y mae y tir yn y gymydogaeth hon yn wastadedd tonog, ac heb fod mor noethlwm â rhai rhanau eraill. Yma ac acw y mae coed poplys yn tyfu yn llwyni, gan fod yn gysgod rhagorol

i annifeiliaid, ac yn danwydd ac yn rheiliau i'r amaethwr. Y mae holl dai yr ardal wedi eu hadeiladu yn ystod y deng mlynedd diweddaf. Y



FFERM HYDE, QU' APPELLE.

mae yno eglwysi perthynol i'r Bedyddwyr, Wesleyaid, Pabyddion, ac Esgobaethwyr; ac y mae gan yr enwad olaf a nodwyd goleg, yn mha un, yn mysg pyngciau eraill, y dysgir amaethyddiaeth. Esgob y rhan hono o'r wlad ydyw prif athraw y coleg.

**Indian Head.**—Ar yr 20fed aethom o Qu 'Appelle i Indian Head, yn mha le y mae ffermydd Arglwydd Brassey, a'r ffermydd arbrawfiadol. Gwelsom ar fferm, tua dwy filltir o'r orsaf, y cnwd goreu o wenith ag y daethom o hyd iddo ar ein holl deithiau. Yr oedd gan y ffermwr 280 o aceri o wenith, yn cyfartalu 40 bwsiel i'r acer. Y mae y tir yma yn drwm, ac yn gymeryd tri o geffylau i wneyd gwaith arferol dau. Y mae y pridd yn gafael cymaint yn yr aradr, fel ag i wneyd aredig yn orchwyl anhawdd. Tywodglai du, o'r ansawdd goreu ydyw, gyd ag is-bridd o glai. Gall hwn ddal gwynt a thywydd poeth, ac nid ydyw rhew yn effeithio arno. Yr oedd cnydau rhagorol o geirch yn cael eu tyfu yno, yn gwneyd o 45 i 55 bwsiel yr acer. Yr oedd haidd yn cynyrchu oddeutu 30 bwsiel yr acer. Lle da oedd hwn i ddefaid. Gwelsom nifer o ddefaid yr Amwythig, ac yr oeddynt yn edrych yn dda, er nad oeddynt wedi cael ond ychydig o sylw yn ystod y gauaf. Yr oedd ganddynt adeilad agored i fyned iddo, a gallent helpu eu hunain gyda gwellt gwenith. Yr oedd y gwartheg a welsom yn perthyn i Arglwydd Brassey, yn edrych yn neilltuol o dda. Gwartheg o rywogaeth Durham oeddynt gan mwyaf.

Gwelsom hefyd tua 25 o ebolion Clydesdale â golwg iach arnynt. Yr oedd y rhan fwyaf o'r cnydau ar y meusydd. Y mae y meusydd hyn mor eang, fel pan oedd fferm y "Gloch" heb ei rhanu, byddai yr aradwr yn cychwyn gyda chwys yn y boreu, yn gorfod bod yn dra ymdrechgar i allu dod yn ôl erbyn amser ciniaw, wedi gwneyd ond un gwys bob ffordd. Yr oedd y cwysi hyn yn bedair milltir o hyd. Lled ddrud ydyw y tir yma, neu o'r hyn lleiaf y mae pris uchel arno. Y mae o £1 i £3 yr acer. Ar fferm yr "Alliance" gwelsom nifer mawr o Indiaid yn cario yd. Telir iddynt ddoler yn y dydd, a rhaid iddynt gael eu cyflog bob nos. Os daw y clwyf hela atynt, ymaith â hwy, hyd yn oed ar ganol y cynhauaf, ac ar amser prysuraf y flwyddyn. Y mae cyflogau yn gyffredin fel y canlyn:—pedwar mis y gauaf, o £2 i £2 10/- y mis; yr wyth mis arall, o £3 i £4 y mis; yn gwneyd canol-bris o £40 y flwyddyn, gyd â bwyd. Y mae genethod gweini yn cael o £2 i £2 10/- y mis. Yr oedd yn ddrwg genyf ar y pryd, ac y mae yn ddrwg genyf yn awr, na fuaswn yn cael mwy o amser i aros yn y rhanbarth dyddorol hwn, ac i ymweled ag ychwaneg o ffermydd.

**Calgary.**—O Indian Head aethom ar y 21ain i Calgary. Ar y ffordd aethom heibio i amryw o ffermydd mawrion, un o ba rai oedd fferm Cwmni Amaethyddol Canada. Yr oeddym hefyd yn pasio Regina, prif dref y Taleithiau Gogledd Orllewinol, gyd a phoblogaeth o 2,200. O'r pwynt hwn cyfeiria y rheilffordd tua'r gogledd i dref Tywysog Albert. Dyma fan cyfarfod yr Heddgeidwaid Marchogol—corph o ddynion yn rhifo mil. Cyrhaeddasom Calgary ar yr 22ain. Y mae hon yn dref hardd, gyd ag adeiladau cadarn. Rhifa ei phoblogaeth 4,500. Y mae yn ganolbwynt gwlad y tir pori (*ranching district*), ac yn sefyll mewn lle dymunol ar lan yr Afon Bow. Aethom i fasnachdy cyfrwywr, a gwelsom gyfrwyau y *Cowboys*. Y mae holl offer marchogaeth perthynol i'r *Cowboy* yn werth tuag £20. Yr oedd rhai o'r cyfrwyau yn dra addurnedig, a'r oll o honynt yn gryfion.

**Edmonton.**—Gadawsom Calgary gyd â'r rheilffordd newydd i Edmonton, tua 190 o filltiroedd i'r gogledd. Cyrhaeddasom yno yn hwyr y nos, ac yr oedd y rhan diweddaf o'n siwrnai mewn cerbyd yn cael ei dynu gan bedwar o geffylau. Yr oeddym yn myned trwy y fath leoedd geirwon, fel yr oeddym bob munyd yn ofni cael ein taflu. Ar ein ffordd o Calgary, yr oeddym yn pasio rhan helaeth o dir sydd etto heb ei gymeryd i fynu. Aethum hefyd heibio i "Randir Indiaid," yn gyfagos i'r rheilffordd. Dangoswyd ty yr addysgydd o dan y llywodraeth i ni. Ei ddyledswydd ydyw, dysgu i'r Indiaid pa fodd i ffermio. Y mae gan yr Indiaid yn y gymydogaeth hon nifer mawr o wartheg, ac y maent yn tyfu rhai cnydau. Yr oedd yma hefyd amryw o ffermydd defaid. Yr ydwyf o'r farn fod yn bosibl gwneyd lle ardderchog i ddefaid yma. Yr oedd amaethwr o'r gymydogaeth yn gyd-deithiwr â ni am ryw gymaint o'r ffordd. Yr oedd ganddo rodfa defaid a rhodfa meirch. Yr oedd ef o'r farn fod gwell dyfodol i ddefaid nag i unrhyw anifail arall yn y dosparth hwn. Dywedai un arall, yr hwn oedd wedi bod yn cadw defaid yn New Zealand, ei fod ef yn tybied fod hwn yn lle gwell i wneyd arian na New Zealand. Byddai yn bosibl i ddyn ieuangc gychwyn rhodfa defaid, gyd

ag ychydig o gyfalaf. Gellir prynu defaid o rywogaeth dda am o 12/- i 16/- y pen, a byddai diadell o 500 yn ddigon i wneyd cychwyniad da. Nid ydyw gwlan yn uchel ar hyn o bryd, o achos Diffyndolliaeth McKinley yn y Taleithiau Unedig. Y canol-bris oedd tua 5½c. Bleiddiaid ydyw yr unig greaduriaid peryglus yn y gymydogaeth hon, ond nid ydynt yn rhedeg yn heidiau. Y mae tref Edmonton yn sefyll ar lan Afon Saskatchewan. Y mae yr afon hon yn 1,000 o drodfeddi o led, ac y mae ei glanau yn codi 200 o drodfeddi. Y mae y dref yn ddwy ran, y rhan hynaf ar ochr ogleddol yr afon, a'r rhan arall ar yr ochr orllewinol, lle hefyd y mae gorsaf y rheilffordd. Y mae yn ymddangos fod cryn lawer o eiddigedd rhwng y naill ran a'r llall o'r dref. Y mae llwch aur i'w gael ar lan yr afon. Y mae y rhai sydd yn ei gasglu yn enill o ddwy i bedair doler y dydd. Y mae haenau o lô hefyd i'w weled yn d'od allan o'r ddaear. Aethom i weled pwll glô yn agos i'r dref. Cerddasom tua 100 llath ar hyd lefel er gweled y glô cyn iddo gael ei dori. Ymddengys fod yno ddigonedd o hono, ac y mae yn cael ei werthu yn y dref am ddeg swllt y dunell. Y mae yno bedwar neu bump o weithydd glô, yn agos i'r dref. Y mae yno hefyd waith priddfeini, lle y gwneir rhai o ansawdd rhagorol, a defnyddir hwy mewn rhai o'r adeiladau goreu. Ar lan yr afon y mae hen gaer a fu unwaith yn perthyn i Gwmni Bau Hudson.

**St. Albert.**—Ar yr 22ain aethom mewn cerbydau ar hyd ffordd amgylchog, i St. Albert. Ar y ffordd yr oedd rhai o'r cnydau haidd a cheirch trymaf a welais erioed. Yr oedd lliw da ar yr haidd. Yn mhentref St. Albert yr oedd nifer mawr o ffermwyr yn difyru eu hunain trwy redegfeydd ceffylau. Croesryw—dynion haner gwyn a haner goch oedd y rhan fwyaf o honynt. Yr oeddynt yn gallu cael amser i wneyd hyn, er fod y rhan fwyaf o'r grawn ar y meusydd heb ei gario. Ar lan yr afon Sturgeon y mae eglwys gadeiriol y Pabyddion, ynghyd a phalas yr Esgob. Derbyniwyd ni gan yr Offeiriad Cyffredinol (*Vicar-General*), yn absenoldeb ei Arglwyddiaeth. Ymddengys y tir yn y lle hwn fel pe bae yn dra chyfoethog. Y mae yno ddyfnder o amryw droedfeddi o bridd du, a'r is-bridd o glai mailaidd. Y mae y ceirch wedi bod yn rhoddi cymaint a 100 bwsiel i'r acer; haidd 65 bwsiel; gwenith, tua 40 bwsiel.

**Caer Saskatchewan.**—Ar y 23ain aethom i Gaer Saskatchewan tuag 20 milltir i lawr yr afon. Dyma brif le Heddgeidwaid Marchol y rhanbarth. Wrth deithio yn ol ar ochr ddeheuol yr afon, cawsom brofiad o'r drafferth ag y mae cau y tir i fynu, yn ei wneyd, trwy roddi terfyn ar y llwybr. Collasom ein ffordd yn gyfangwbl. Yr oeddym yn myned heibio i amryw o sefydlwyr newydd, ac fel yr oeddym yn agoshau at Edmonton, gwelsom amryw o'r hen sefydlwyr, y rhan fwyaf o ba rai oedd yn byw mewn tai da, o wneuthuriad cadarn. Yr ydwyf o'r farn fod dyfodol disglaer o flaen y gymydogaeth hon, oherwydd y ddaear fras sydd yno. Fe dyf bob math o rawn a llysiau. Mae yno swm anhysbydd o lô a chlai. Gyda'r manteision hyn, y mae yn sicr y bydd i weithfaoedd gael eu dadblygu cyn hir. Y peth gwaethaf yn erbyn y lle ydyw ei bellder o unrhyw farchnad dda. Byddai yn well

i'r ffermwyr roddi eu cynyrch mewn can lleied o le ag sydd yn bosibl, megys caws, ymenyn, &c., &c. Ychwanegiad pwysig i'r dosparth hwn o'r wlad fyddai melin blawd ceirch, yn ychwanegol at y felin yd sydd yno yn bresenol; darllawdy a distylldy—y naill neu y llall, gan fod ansawdd yr haidd mor dda; gweithfa cig moch, a gweithfa gwlaneni. Tynwyd ein sylw yma gan y cyflwr yn mha un yr oedd y gwartheg—yr oeddynt oll mor dew, er fod y rhan fwyaf o honynt wedi bod allan trwy y gauaf, gan na welsom unrhyw le i'w rhoddi i mewn. Yn ystod ein harosiad yn Edmonton cawsom beth tywydd garw, yn gynwysedig o rew ac eira, ond yr oedd y diwrnod pan yr oeddym yn myned oddi yno yn un clir, cynes, a haulog. Yr oedd prisiau yn y gymydogaeth hon fel y canlyn:—y gwair goreu, 5 doler y dunell; cig eidion, o dair i bedair-a-haner *cent* y pwys, yn fyw; cig defaid, lloi, ac wyn, 10 *cent* y pwys, yn farw; moch o 7 i 8 *cent* y pwys, yn farw.

**Leduc.**—Gadawsom Edmonton ar y 25ain, ac aethom mewn cerbydau i Leduc, ac oddiyno i Wetaskiwin. Pentref bychan ydyw hwn yn cael ei amgylchynu gan nifer o lynau prydferth, pa rai sydd yn noddfa i filoedd o hwyaid gwylltion. Aethom i weled y faelfa, er cael allan brisiau gwahanol nwyddau. Yr oedd y masnachdy llawnaf a welais erioed yn y wlad. Yr oedd pob peth angenrheidiol i'r ty iw gael yno. Yr oedd dillad yn costio cymaint arall ag yn yr hen wlad. Siwgr, 4½ a 5 ceiniog y pwys; a nwyddau chwegyddol eraill am tua yr un bris ag yn Nghymru. Deuddeng mis cyn ein hymweliad ni â'r lle, nid oedd cymaint ag un ty wedi ei adeiladu yma; yn awr y mae yma amryw o siopau, lle i fenthyca ceffylau, swyddfa tir y Llywodraeth, a gorsaf rheilffordd. Hysbyswyd ni fod tir da wedi cael ei gymeryd i fynu ychydig filltyroedd o'r orsaf.

**Y Mynyddoedd Creigiog.**—Arhosasom y noson hono yn ein hystafelloedd blaenorol yn Calgary, a boreu drannoeth, y 26ain, cychwynasom i groesi y Mynyddoedd Creigiog—y daith fwyaf ardderchog yn Canada. Yr oeddym yn canfod y Mynyddoedd o Calgary, au penau uchel fel yn cyrhaedd i'r cymylau. Ar ein ffordd yr oeddym yn pasio heibio i amryw o "ffermydd pori" (*ranches*) lle y mae "Bechgyn-y-Gwartheg" (*Cowboys*) yn cael digonedd o waith. Nid ydyw desgrifiad o'r daith dros y Mynyddoedd Creigiog yn rhan o'm gwaith i, ac nid af i geiso gwneyd hyny. Byddai yn anmhosibl ei descrifio yn briodol. Rhaid gweled y daith i allu ffurfio barn briodol am dani. O Banff—yn nghanol parc y Mynyddoedd Creigiog, lle mae amryw o ffrydiau o ddwfr poeth—gallem weled y Peechee, sef mynydd sydd 10,000 o droedfeddi o uchder, neu agos gan uwched â phe byddai tair Gwyddfa, y naill uwchben y llall. Nis gallwn beidio edmygu y gallu peirianyddol oedd yn cael ei arddangos yn ngwneithuriad y rheilffordd hon. Mewn un lle y mae yn dringo i fynu yr ochrau serth, ac yna yn disgyn i waelodion y mynyddoedd, er cael lle i groesi rhyw ffrwd fynyddig gref. Fel yr oeddym yn dod trwy y Creigiau, yr oeddym yn dechreu teimlo y gwahaniaeth yn y tymheredd. Yr oedd hyn hefyd i'w weled yn y gwahaniaeth yn y tyfiant, ac yn y glaswellt. Yr oedd gyd â ni yn y gerbydres amryw o ffermwyr bonheddig y rhai a'n hysbysasant fod arddanghosfa

amaethyddol yn cael ei chynal yn Westminster Newydd, o ba le yr oeddynt hwy yn dyfod. Darfu i ni ar unwaith benderfynu myned i'r dref hono, a helaethu ein taith yn Columbia Brydeinig.

**Westminster Newydd.**—Cyrhaeddasom i Westminster Newydd ar yr 28ain yn yr hwyr, a chyda chryn anhawsder y llwyddasom i gael gwelyau, gan fod y dref mor llawn o ymwelwyr. Aethom i weled adeiladau yr Arddanghosfa, a derbyniasom wahoddiad gan y Maer i weled y gwobrwyon yn cael eu rhanu, ond yn anffortunus yr oeddym yn rhy hwyr i hyny. Yr oedd adeiladau yr Arddanghosfa yn cael eu goleuo gan drydaniaeth. Y mae y dull hwn o oleuo, ac o deithio, yn llawer mwy cyffredin yn Canada nag yn y wlad hon; y maent yn mhell tu hwnt i ni yn y cyfeiriad yma Yn nghanol yr adeiladau, ar esgynlawr, yr oedd Seindorf Drefol Westminster Newydd,—pa un oedd yn cael ei gwneyd i fynu o ddynion ieuainge o'r dref,—yn chwareu cerddoriaeth yn neilltuol o dda. Yr oedd nifer mawr o bobl yn gwrandaw yn astud arnynt. Yr oedd yr arddanghosfa hon yn cael ei galw "Arddanghosfa Cymdeithas Freiniol Amaethyddiaeth a Diwydrwydd Columbia Brydeinig." Yr oedd yr Arddangosiadau yn cynhwys pob math o lysiau, megis bresych, *cauliflowers*, pytatws, pys, &c., ac yr oedd yno hefyd enghreifftiau ardderchog o afalau a phompionau. Dangoswyd i ni enghreifftiau prydferth o wahanol goed y gymydogaeth. Nid oeddym yn ystyried fod yr yd lawn cystal â'r hyn oeddym wedi ei weled yn y Gogledd Orllewin; yr oedd yr ymenyn o ansawdd dda, ac wedi ei wneyd yn ddestlus. Ffrwythau Columbia Brydeinig ydyw un o'r pethau goreu a fedd. Un o ddyledswyddau cyntaf ymsefydlydd yma ydyw planu perllen, gan fod y pridd a'r tywydd mor ffafriol i dyfiant pob math o goed ffrwythau. Y boreu canlynol, aethom eilwaith i weled yr Arddanghosfa. Yr oedd y dofednod o ansawdd gyffredin. Yr oedd y rhan fwyaf o'r gwartheg o rywogaeth Holstein, ond yr oedd yno ychydig o rai Byrgyrniau (*Shorthorn*). Mewn gwlad newydd fel hon, nid oeddym yn disgwyl gweled ystoc neilltuol o dda. Yr oedd yno ychydig geffylau gwedd da. Mewn cysylltiad â'r Arddanghosfa, yr oedd ganddynt gystadleuaeth pel droed yn ol rheolau Rugby, croeslyn (*lacrosse*), rhedegfeydd coraclau, coraclau Indiaidd, saethu, rhedegfeydd olwynog (*bicycle*), rhedeg, trotian, cystadleuaeth marchogaeth rhwng y *Cowboys*, a chystadleuaeth hollti coed. Yr oedd yno hefyd foneddigesau yn cystadlu mewn marchogaeth, ac yr oedd Seindorf Bres Indiaidd yn chwareu. Ar ol ciniaw, aethom mewn agerlong i fynu yr afon. Cawsom olwg dda ar y dref, yr hon sydd mewn safle ddyrchafedig ar lan yr Afon Fraser. Talasom ymweliad â Melinau Llifio Brunette, a chawsom weled mor hawdd y maent yn gallu trin y coed mwyaf. Nofir hwy i lawr o'r goedwig, ac yna y maent yn cael eu cadw mewn rhan amgauedig o'r afon hyd nes y bydd eu heisieu; yna tynir hwynt o'r afon ar drês ddiderfyn, pa un sydd yn llawn o fachau. Hynod mor hawdd y maent yn cael eu tynu i fyny. Y mae un lif mewn gwirionedd yn ddeg-ar-hugain o lifiau, yn gweithio yn union-syth, gan dori y pren yn fyrddau ar un gweithrediad. Wrth fyned i fynu yr afon, yr oeddym yn myned heibio nifer o adeiladau lle y mae yr eog (*salmon*)

yn cael ei roddi yn y tyniau, sydd erbyn hyn mor adnabyddus. Nid oeddynt yn gweithio, gan fod y tymhor drosodd. Yr oedd digonedd o eogiaid i'w gweled yn yr afon. Cymerwyd ni i Weirgloddiau Pitt, pa rai sydd yn 12,500 a aceri. Tir gwastad ydyw, ac yn ei gyflwr dechreuol nid oedd yn werth dim, gan fod yr afon yn ei orchuddio yn misoedd Mehefin a Gorphenaf, pan y mae yr eira yn toddi ar y mynyddoedd. Prynwyd ef gan gwmni, ac ar gost mawr, y maent wedi pwrcasu "peirianau ffosawl" (*dyking plant*), pa un sydd yn gynwysedig o agerdd beiriant, ac offerynau eraill. Y maent wedi codi clawdd o gwmpas y tir, o 5 i 6 trodfedd o uchder, ac yn 33 trodfedd o led yn y gwaelod; yn y lle isaf ar y tir y mae peiriant i bwmpio y dwfr ymaith, pan na ellir ei gael oddi yno trwy unrhyw fodd arall. Am y tir hwn disgwilia y cwmni gael 50 o ddoleri yr acer, ac os llwydda ei cynllun, y mae y tir yn llawn gwerth hyny. Ar yr ochr draw i'r afon, y mae darn arall o dir yn cael ei drin yn gyffelyb. Rhaid fod gan y cwmni hwn blwc anghyffredin i ymosod ar y fath waith. Y mae tir yn uchel ei bris yn Westminster Newydd, ac yn rhedeg o £3 yr acer i fynu.

**Vancouver.**—O Westminster Newydd, aethom i Vancouver, gan deithio gyda'r Rheilffordd Drydanawl, am ddeuddeg milltir, trwy goedwig



PREN MAWR YN MHARC STANLEY, VANCOUVER.

Mr. A. J. Davies.
Mr. J. Roberts.
Mr. W. H. Dempster.
Mr. T. Pitt.
Mr. J. T. Franklin
Is-Lywydd Bwrdd Masnach.
Mr. E. P. Leacock.
Maer Vancouver.

o binwydd a chedrwydd o anferthol faentioli. Yn Vancouver, derbyniwyd ni gan y Maer, a chymerwyd ni i weled prif adeiladau y dref. Yr oedd Llywydd y Bwrdd Masnach hefyd gyd â ni. Y mae masnach helaeth yn cael ei chario yn mlaen yn y lle hwn. Yr hyn ydyw Montreal i Canada Ddwyreiniol, ydyw Vaucouver i Gaaada Orllewinol. Hwylia llongau oddi yma i China, Japan, Awstralia, a glanau California a Chanada. Archwiliasom un o agerlongau Rheilffordd Canada ar Môr Tawelog, pa un oedd yn hwylio rhwng Vancouver a China. Yr ydoedd yn llong ardderchog, ac o'r fath fwyaf cysurus. Y mae y modd yn mha un y mae y ddinas yma wedi symud yn mlaen, er mor ddiweddar a'r flwyddyn 1885, yn rhyfeddol. Yn y flwyddyn hono, yr oll o'r dref ydoedd un felin lifio. Yn 1886 yr oedd y boblogaeth wedi cynyddu i 600. Yn 1893 yr ydym yn cael tref fawr o 20,000 o boblogaeth, gyd â phob ymddanghosiad ei bod am gynyddu yn gyflym. Gwelsom barc Stanley, yr hwn sydd wedi ei enwi ar ol llywodraethwr Canada—Iarll Derby—yr hwn oedd mewn swydd ychydig o flynyddoedd yn ol. Y mae y parc hwn yn cynwys arwynebedd o 1000 o aceri, ac wedi ei fwriadu er mwyn pleser ac adnewyddiad y cyhoedd. Y maent wedi dechreu ar gasgliad o fwystfilod yno. Y mae y coed mwyaf yno yn anferthol o faint. Gwelsom un oedd yn 55 trodfedd o amgylchedd; yr oedd eraill o 35 i 40 trodfedd, ac yr oeddynt o 200 i 300 o drodfeddi o uchder. Ar ben uchaf un pren (yr oedd ei brigyn wedi cael ei dori ymaith), tua 200 trodfedd oddi wrth y llawr, gwelsom nyth eryr.

**Victoria.**—Nos Sadwrn, cychwynasom am Victoria, gan gyrhaedd yno un o'r gloch boreu Sul. Hon ydyw prif dref Columbia Brydeinig, ac y mae wedi ei hadeiladu ar dir dyrchafedig, yn edrych dros Gulfor Georgia. O'r parc, yr hwn hefyd sydd yn edrych dros y Culfor, gallem weled Talaeth Washington. Boreu Sul, aethom ar wahoddiad, ar fwrdd y llong rhyfel y "Royal Arthur," i'r gwasanaeth crefyddol. Hon ydyw prif-long llynges y Môr Tawelog (yr hon sydd yn gynwysedig o wyth o longau rhyfel). Yr oedd ar ei bwrdd 642 o ddynion, ac yr oedd y rhan fwyaf o'r rhai hyn yn y gwasanaeth. Cawsom olwg ar y drylliau, y peirianau, &c., pa rai oedd yn y llong. Y mae cryn lawer o drigolion Victoria yn Chineaid. Dywedir fod o leiaf 3000 o honynt yn byw yno. Y mae "John China" yn gwneyd gwas teuluaidd da, ac o herwydd prinder merched gweini, y mae ef yn anmhrisiadwy, gyd a'r gwaith o olchi dillad, a chyd a phob gwaith ty. Y mae cwmniau yn dod â hwy drosodd i'r wlad, ac yn cytuno â hwy i'w cymeryd yn ol, yn fyw neu yn farw. Y maent yn byw mewn rhan neilltuedig o'r ddinas. Nid ydynt yn gwario ond ychydig o arian, a masnachant bron yn gyfan-gwbl y naill gyd â'r llall.

**Nanaimo a Wellington.**—Dydd Llun, trwy garedigrwydd Mr. Dunsmuir, yr hwn a roddodd gerbydres arbenig at ein gwasanaeth, aethom i weled glôfeydd Nanaimo a Wellington, tua 90 milltir i'r gogledd. Darfu i'r gerbydres sefyll mewn gwahanol fanau, er mwyn i ni fyned

mewn cerbydau eraill i weled y tir. Y mae gan yr Indiaid beth tir da iawn ar y rhan sydd wedi ei neilltuo iddynt hwy. Gwelsom nifer o ddefaid rhagorol tra ar y daith yma. Ar ol cyrhaedd Wellington, aethom i weled y glôfeydd, pa rai sydd yn meddiant Cwmni Glô Dunsmuir. Dechreuodd y rhai hyn weithio yn 1871, ac yn awr y mae 350,000 o dunelli o lô yn cael ei anfon allan bob blwyddyn, y rhan fwyaf o ba un sydd yn cael ei anfon i San Francisco. Yn Nanaimo, aethom i weled glôfeydd Cwmni Glô Nanaimo. Y mae gan y cwmni yma bump neu chwech o byllau glô, pa rai sydd tua thair milltir o bellder y naill oddi wrth y llall. Y mae y glô yn cael ei godi o dan y Culfor, ond nid ydyw y glôwyr un amser yn cael eu blino â dwfr. Cawsom ein hadloni gan Faer Nanaimo (A. Haslam, Ysw., A.S.), yr hwn hefyd a'n cymerodd o gwmpas mewn cerbydau. Gadawsom Nanaimo chwech o'r gloch yn y boreu, gan groesi drosodd i Vancouver, pa le a gyrhaeddasom erbyn un-ar-ddeg Y mae hinsawdd Vancouver yn dra hyfryd, ac yn debyg i'r eiddo Deheudir Lloegr. Ni bydd yno ond ychydig o eira, a phan y daw, buan y todda ymaith.

**Harrison.**—Cychwynasom ar ein taith yn ol trwy gymeryd y gerbydres hyd i orsaf fechan o'r enw Harrison. Yma cawsom brofiad nad oedd yr un o honom yn dymuno ei gael eilwaith. Mewn ceufad bychan cymerwyd saith o honom am bedair milltir i fynu Afon Fraser. Yr oedd yn rhaid i ni groesi mwy nag un 'llyn tro,' ac yr oedd gwneyd hyn, gyd a'n cwch gorlwythog a bregus ni, yn orchwyl peryglus mewn gwirionedd.

**Chilliwack.**—Pa fodd bynag, cawsom ddod i'r lan yn ddiogel, ac aethom mewn cerbydau i Chilliwack. Tref fechan ydyw hon, mewn dyffryn, tua milltir oddi wrth yr afon, ac wedi ei hamgylchynu gan fynyddoedd uchel ac ysgythrog. Aethom i weled amryw o ffermydd, ac yn eu mysg, fferm hopys (*hop farm*), lle yr oedd y cnwd newydd gael ei gynull. Yr oedd wedi gwneyd canolswm o dunell i'r acer. Yr oedd y borfa yn y gymydogaeth hon yn ymddangos yn gyfoethog â bras. Mewn un fferm laethol ag yr ymwelasom â hi, yr oedd y llaeth oll yn cael ei droi i gaws Cheddar; yr oedd hwn yn gystal caws, os nad gwell, na llawer sydd yn cael ei wneyd yn Lloegr. Cynllun yr amaethwr oedd, peidio gwneyd caws pan y deuai yr ymenyn yn werth mwy na swllt y pwys. Hyspysodd ni fod y gwartheg yn rhoddi iddo ar gyfartaledd £12 y pen, y flwyddyn. Yr oedd wedi gwerthu oddi ar ei fferm 300 tunell o wair "*timothy*," yr hwn oedd o ansawdd ragorol, ac wedi ei gynhauafu yn dda. Yr oedd wedi ei wasgu yn fwndeli gyda nerth ceffyl, ac wedi ei anfon, ar ol ei werthu, gyda chwch i Vancouver. Yr oedd y dyn hwn wedi tyfu gwair ar yr un maes am ddeunaw mlynedd heb ei wrteithio, ac yr oedd y cnwd yn gwneyd canolswm o dair i bedair tunell yr acer. Ar y fferm hon hefyd yr oedd cnwd glas o Ind-rawn, yr hwn yn ol pob tebyg a wnai bwyso 35 tunell yr acer—yr oedd o 8 i 9 trodfedd o uchder. Yr oedd yn cael ei roddi trwy beiriant tori gwellt, a'i wneyd yn *ensilage* i'r gwartheg. Yr oedd y fferm hon yn edrych yn un mwy enillgar na'r un a welais; yr oedd yn 400 o aceri o faentioli, 50 o ba rai oedd etto heb eu clirio. Y mae tir yn y dosparth hwn o'r wlad yn lled ddrud; y maent

yn gofyn cymaint â £30 yr acer, ond diameu y gellir prynu tir am lai na hyny. Disgyna gwlawogydd trymion yma, ac am hyny y mae y tir yn fwy pwrpasol at roddi llaeth, nag at godi yd.

**Agassiz.**—Dydd Mercher, Hydref y 4ydd, gadawsom Chilliwack, ac aethom mewn cerbyd i Agassiz. O herwydd y gwlawogydd trymion, yr oedd y ffyrdd—os teilwng o'r enw—yn annhramwyadwy. Taflwyd un o'r cwmni allan o'r cerbyd i lyn o ddwfr. Ar ol cyrhaedd a chroesi yr afon, cerddasom trwy y rhandir Indiaidd am tua thair milltir, ar hyd llwybr garw, i Agassiz. Ymddanghosai y tir yn dra ffrwythlawn; yr oedd yr Indiaid wedi clirio rhai meusydd, ac wedi planu perllanau. Ymwelasom â'r fferm arbrawfiadol, arolygydd pa un oedd Mr. T. A. Sharpe. Y mae yn 300 o aceri o faint, ac yn gyfagos i orsaf y rheilffordd; y mae un rhan o honi yn y dyffryn, a'r rhan arall yn codi yn sydyn i uchder o 800 trodfedd. Ar yr ucheldir hwn, y mae perllanau wedi cael eu planu, a disgwylir y canlyniadau gyda chryn ddyddordeb. Rhaid fod y draul o glirio y tir hwn wedi bod yn fawr—tua £15 yr acer o leiaf; yr oedd cyn hyny wedi ei orchuddio â choed trymion. Y mae yr hinsawdd yn dyner; nid aeth y gwres-fesurydd y gauaf diweddaf yn is na saith gradd uwch *zero*. Ar ochr y mynydd y mae perllan fawr wedi ei phlanu, yn cynwys 887 o wahanol fathau o goed ffrwythau. Dywedir mae hwn ydyw y casgliad mwyaf o goed ffrwythau ar gyfandir yr America. Er nad oes ond tair blynedd wedi pasio er pan y mae y coed wedi eu planu, y mae eu tyfiant wedi bod yn rhyfeddol. Y mae y fferm hon o werth mawr, er cael allan y coed mwyaf priodol i'r lle a'r hinsawdd; pe buasai y gorchwyl hwn wedi cael ei adael i unigolion, buasai blynyddoedd yn myned heibio cyn gallu cyrhaedd y wybodaeth sydd yn awr i'w chael heb ddim trafferth. Gadawsom Agassiz tua thri o'r gloch dydd Mercher i ail groesi y Mynyddoedd Creigiog.

**Yn ol i Winnipeg.**—Erbyn boreu Sadwrn yr oeddym wedi cyrhaedd Winnipeg, ar ol teithio 1,411 o filltyroedd yn yr un gerbydres. Yn ystod ein taith, gwelsom amryw o feusydd o wenith allan, heb ei gario. Yr oedd y mwyafrif o'r rhai hyn yn nghymydogaethau Qu' Appelle ac Indian Head.

**Chicago.**—Ganol dydd Sadwrn, cychwynasom gyd â'r gerbydres tua Chicago, a chyrhaeddasom yno nos Sul. Yr oeddym yn myned trwy ranau helaeth o dir yn Dakota Ogleddol tebyg iawn i dir Manitoba. Yr oeddym yn myned trwy St Paul a Minneapolis, pa rai sydd yn lleoedd poblogaidd iawn. Nid pleserus oedd cyrhaedd y "ddinas fawr" yn hwyr nos Sul, a'r newyddiaduron yn dyweyd nad oedd modd cael gwely o gwbl yn y lle. Pa fodd bynag, buom yn ddigon ffodus i gyfarfod a lletty, a thra hyfryd oedd cael gorphwyso. Boreu Llun, aethom i weled "Ffair y Byd." Hwn oedd "diwrnod Chicago," ac yr oedd 742,000 o bersonau wedi dewis y dydd hwn i weled y "Ffair." Felly, nid oedd yn adeg fanteisiol i weled y gwahanol bethau. Cyfarfyddais ag amryw o Gymry, o'm cymydogaeth fy hun, un o ba rai oedd

wedi bod yn byw yn y fferm agosaf i mi. Ganddo ef ac eraill, cefais hanes llawn am yr Eisteddfod oedd wedi ei chynal yno. Hysbyswyd ni fod 80,000 o Gymry wedi dod yno o wahanol gyrau y byd. Wythnos yr Eisteddfod oedd yr wythnos ag yr ymwelodd mwyaf o bersonau â'r "Ffair" er adeg ei hagoriad. Gan ein bod wedi teithio trwy wahanol daleithiau Canada, naturiol oedd i ni gymeryd dyddordeb mewn cael allan, pa fodd yr oedd anifeiliaid a chynyrch Canada wedi llwyddo yn eu cystadleuaeth â'r holl fyd. Y mae "Cosyn Mawr" Canada erbyn hyn, yn dra adnabyddus. Yr oedd yn pwyso 22,000 o bwysau. Nid ydyw etto yn "cerdded ei hun" fel yr oedd rhai yn prophwydo y gwnai, ond y mae yn cadw mewn cyflwr rhagorol. Yr oedd y barnwyr, wrth gyflwyno eu hadroddiad yn dwyeyd, "fod rhagoroldeb ei ansawdd yn wrthrych o ryfeddod a syndod." Yr ydwyf yn deall ei fod i gael ei gymeryd i Loegr, ac felly, gall pob un sydd yn teimlo dyddordeb ynddo, ei weled. Darfu i Canada, fel ag y dywedodd hen ffermwr o Ontario, "guro y byd" ar yr achlysur hwn; yn ddiddadl, sicrhaodd fwy o wobrwyon nag unrhyw ran arall o'r byd, yn ol rhif ei phoblogaeth. Yn nghystadleuaeth y caws, bu Canada yn neillltuol o lwyddianus. Nid oeddwn yn rhyfeddu am hyn, gan fod y caws oeddym wedi ei brofi yn ystod ein taith o ansawdd neillltuol o dda, ac yn cydmaru yn dra ffafriol â'r hyn a werthir yn y wlad hon fel "Caws America," llawer o ba un nid ydyw yn gymhwys i fôd dynol ei fwyta. Yn canlyn y mae talfyriad o'r gwahanol gystadlaethau mewn caws yn Mehefin a Hydref:—

CYSTADLEUAETH CAWS YN MEHEFIN.

| | |
|---|---|
| Holl nifer Cystadleuwyr Unigol Caws o Canada a'r Unol Daleithiau... | 667 |
| Wedi eu hanfon o Canada | 172 |
| Yr oedd agos yr oll o'r rhai hyn yn nosparth Caws Cheddar, neu gaws o *factories*. | |
| Yr holl Wobrwyon am Gaws Cheddar ... | 138 |
| O'r rhai hyn cymerodd Canada | 129 |
| Yn gadael i'r Unol Daleithiau... | 9 |

CYSTADLEUAETH CAWS YN HYDREF.

| | |
|---|---|
| Holl nifer Cystadleuwyr Unigol Caws o Canada a'r Unol Daleithiau... | 606 |
| Wedi eu hanfon o Canada | 524 |
| Cyfanswm y Gwobrwyon am Gaws wedi ei wneyed cyn 1893 ... | 110 |
| Cymerodd Canada yr oll o'r rhai yna. | |
| Nifer y Gwobrwyon am Gaws Cheddar neu *factory* wedi ei wneyd yn 1893 ... | 414 |
| O'r rhai hyn cymerodd Canada | 369 |
| Gan adael i'r Unol Daleithiau | 45 |

Yn Mehefin, yr oedd 31 o esiamplau o gaws Canada yn uwch na'r uchaf or esiamplau o'r Unol Daleithiau, ac yn Hydref yr oedd 130 o honynt yn uwch.

Yn nosparthiadau caws Cheddar, neu gaws y llaw-weithfa, yr oedd yr arddangosiadau a'r gwobrwyon fel y canlyn:—

| | Nifer yr Arddangosiadau. | Gwobrwyon. |
|---|---|---|
| Yr Unol Daleithiau ... ... ... ... | 586 ... | 54 |
| Canada ... ... ... ... ... ... ... ... | 687 ... | 607 |

Bu Canada yn dra llwyddianus gyda'r gwartheg, gan enill 6,045 o ddoleri gyda 180 o arddangosiadau (*entries*). Cymerodd magwyr Ontario y rhan fwyaf, a'r goreuon, yn mysg y gwobrwyon am geffylau *hackney*. Gyda cheffylau o waed pur, cymerasant yr holl wobrwyon ag a oedd yn agored iddynt; enillasant amryw o wobrwyon hefyd am geffylau yn trotian. Yn mysg y defaid, cymerodd Canada 61 o'r prif wobrwyon, a'r Unol Daleithiau 49, er nad oedd nifer *entries* Canada ond 310 yn erbyn 443 o'r Unol Daleithiau. Daeth Canada allan yn fuddugoliaethus hefyd yn yr oll o'i harddangosiadau eraill.

**Sylwadau Cyffredinol.**—Y mae ein taith bellach ar ben, a bydd i ni yn awr wneyd ychydig o sylwadau am Canada yn gyffredinol a'r gwahanol ranau ag yr ymwelwyd â hwy, gan obeithio y byddant o ryw gymhorth i'r rhai sydd yn awyddus am ymfudo, trwy eu hyfforddi am yr hyn sydd iddynt i'w ddisgwyl yn y Cyfandir Newydd.

Y mae Llywodraeth Canada yn cynwys arwynebedd o 3,470,257 o filltyroedd ysgwar, ac y mae y boblogaeth yn bum' miliwn, neu tuag yr un faint a phoblogaeth Llundain. Ni bydd i gerbydres yn cychwyn o Montreal gyrhaedd Vancouver ar y goror gorllewinol am bum' niwrnod ar ol gadael y dref flaenaf, er teithio nos a dydd. Y mae Llywodraeth Canada yn un gyngrheiriol; y mae gan bob talaeth ei senedd leol—rhyw fath o senedd *Home Rule*—a phob un o honynt yn meddu prif weinidog, llefarydd, &c., &c. Y Llywodraethwr Cyffredinol, yr hwn sydd yn cynrychioli y Frenhines ar hyn o bryd, ydyw Iarll Aberdeen. Y mae yno ddau dy senedd, ond dim un seneddwr o enedigaeth (*hereditary legislator*) Y mae yn y Ty Uchaf 80 o aelodau, ac yn yr Isaf 215. Y mae addysg y wlad yn nwylaw y Llywodraeth Dalaethol. Rheolir yr ysgolion gan ymddiriedolwyr, ac y mae y costau yn cael eu talu o'r trethi lleol ac o'r Drysorfa Dalaethol. Ni chyfrenir unrhyw addysg grefyddol yn yr ysgolion cyn tri o'r gloch y prydnawn; ar ol yr amser hwnw, bydd i'r addysg grefyddol ag a ganiatteir gan yr ymddiriedolwyr gael ei chyfranu, ond y mae yn agored i unrhyw rieni dynu eu plant ymaith cyn adeg y cyfryw addysg. Y mae ar hyn o bryd filiwn o bersonau—un rhan o bump o'r boblogaeth—yn derbyn addysg yn yr ysgolion hyn. Derbynia pob plentyn ei addysg yn rhad—y tlawd a'r cyfoethog gyda'u

gilydd. Talodd ysgrifenydd Seisnig, yr hwn a fu gyda ni am rai dyddiau, ymweliad ag un o'r ysgolion uwchraddol. Dywedai; "Nid oedd yno wahaniaeth dosparthiadau; yr oedd merch y Prif Farnwr yn eistedd wrth ochr merch y llafurwr cyffredin; wrth ochr mab y Maer eisteddai mab i fan nwyddwr Iuddewig." Yn Canada, y mae gan bob plentyn, os bydd ganddo ymenydd a phenderfyniad, yr un siawns i ddringo i fynu ysgol bywyd, a rhoddir i bob un, yr un cynorthwy. Yn nghyd â'r ysgolion elfenol, y mae yno hefyd ysgolion o radd uwch—lle y mae addysg yn rhyfeddol o rad,—colegau a phrif-ysgolion. Y mae dros naw mil yn yr ysgolion hyn.

Nid oes grefydd sefydledig yn Canada. Gyd a'r eithriad o dalaeth Quebec—lle y caniatteir i'r Pabyddion fwynhau yr un breintiau ag a oedd yn feddiant iddynt cyn i'r wlad gael ei throsglwyddo i feddiant Prydain Fawr—nid oes unrhyw grefydd yn cael cymorth gwladwriaethol. Y Pabyddion ydyw y corph mwyaf lliosog a rhifa yr aelodau tua 2,000,000. Y prif enwadau eraill ydynt y Methodistiaid Wesleyaidd, yn rhifo 809,637; Presbyteriaid, 754,142; Eglwys Loegr, 644,259, a'r Bedyddwyr, 257,449. Y mae yno hefyd Annibynwyr, Lutheriaid, Byddin yr Iachawdwriaeth, ac enwadau eraill. Y mae y gwahaniaeth rhwng dosparth a dosparth, sydd mor amlwg yma, yn anadnabyddus yno. Gofynwyd unwaith i bendefig Seisnig ieuangc, pa fodd yr oedd ef yn hoffi y wlad. "Da iawn," oedd yr ateb, "ond yn unig nad oes yma ddim cymdeithas." Meddai ei ymholydd Canadaidd, "A ydych yn meddwl wrth gymdeithas, y bobl hyny sydd yn myned o gwmpas heb weithio?" "Ydwyf," oedd yr ateb. "Wel," meddai y llall, "Nid 'Cymdeithas' yr ydym ni yn galw y bobl hyny, ond crwydriaid (*tramps*)." Nid oes Deddfau y Tlodion yn Canada, ac o ganlyniad nid oes yno dlodion. Y mae trefn blwyfol gostus ein gwlad ni yn creu tlodion, ac yn eu lliosogi. Y mae y ffaith nad oes tlodion yn Canada yn dysteb ardderchog i'r wlad.

Y mae ffermwr Canada yn annibynol â'r bawb. Y mae yr ystyriaeth o hyn yn gwneyd y ffermwyr yn ddosparth o ddynion gwell, uwch, a mwy anrhydeddus. Drosodd yno, nid ydyw y *tenant* yn fath o "bawen cath" i'r meistr tir, ac yn cael ei orfodi i feddwl, siarad a phleidleisio fel ag y mae ei feistr yn tybied yn oreu. Y mae y Canadiaid yn awr yn mwynhau y diwygiadau ag y rhaid yn y dyfodol eu caniattau i Brydain. Nid ydyw Deddf y Cyntafanedig mewn bod. Wedi i ffurfiau neilltuol gael eu cyflawni, gall unrhyw ddinas neu sir roddi mewn gweithrediad Ddeddf Ddirwestol Canada. Y mae hon yn ddeddf fanwl a llym, ac o dani, nis gall unrhyw berson gynyg diodydd meddwol ar werth; y mae ganddynt hefyd ddeddf i gau y tafarnau ar y Sabboth. Y mae yr oll o'r tafarnau yn cael eu cau bob Nos Sadwrn am saith o'r gloch. Y mae gan bob person fyddo dros 21 oed, os yn ddeiliad Prydeinig, hawl i bleidleisio, ac y mae y rhai sydd yn myned o'r wlad hon i Canada, yn meddu yr un hawl yn y cyfeiriad yma. Yn yr Unol Daleithiau, rhaid i bob person o wlad arall gael ei ryddfreinio cyn y

gall bleidleisio. Y cymhwysder ydyw rhentu, neu feddu lle yn werth £60, neu fod yn fab i amaethwr, pysgottwr, &c., &c. Mewn rhai manau, y mae gan yr Indiaid bleidleisiau, os yn meddu y cymhwysderau angenrheidiol. Nid oes yr un tymhor seneddol yn hwy na phum mlynedd. Y mae pob seneddwr yn derbyn iawn am ei lafur, o £200 yn y flwyddyn. Derbynia aelodau Ty y Cyffredin £2 yn y dydd pan y mae y Ty yn eistedd, ond ni bydd y tal yn fwy na £200 yn y flwyddyn. Yn Canada, caniateir priodas gyda chwaer gwraig drangcedig. Gyd ag ychydig o eithriadau, y mae y cyfreithiau yn bobpeth ag a ellid eu dymuno.

Y mae Canada wedi ei bendithio yn helaeth gyd â rheilffyrdd a chamlesydd. Y mae ffordd ddwfr naturiol o Gulfor Ynys Belle, hyd i Lyn Superior, pellder o 2,260 o filltyroedd, ar hyd pa un y mae môrio dirwystyr. Y mae y Llywodraeth wedi gwario a'r gamlesydd gymaint ag £11,957,114. Y mae y gwaith hwn o'r pwysigrwydd mwyaf. Perthyna y rheilffyrdd i gwmniau gwahanol, ac nid i'r llywodraeth. Y mae y rhan fwyaf o honynt, pa fodd bynag, wedi derbyn cymhorth sylweddol gan y deyrnas, ac y mae 43,377,422 aceri o dir wedi cael ei roddi iddynt. Y prif reilffyrdd ydynt Canada a'r Môr Tawelog, a Rheilffordd y *Grand Trunk*. Y mae 14,588 o filltyroedd o reilffyrdd yn y wlad.

**Ontario.**—Y mae talaeth Ontario yn cynwys arwynebedd o 182,000 o filltyroedd ysgwar, a rhifa y boblogaeth ddwy filiwn. Ni chawsom ni, y dirprwywyr ond amser byr yn Ontario, gan fod ein cenhadaeth yn fwy arbenig i Manitoba a'r Taleithiau Gogledd-Orllewinol. Gan hyny, bydd fy sylwadau ar y dalaeth hon o angenrheidrwydd yn fyrion. Rhyfeddol oedd y gwaith a wnaed gan y sefydlwyr cyntefig yn y wlad hon, ac y mae eu dilynwyr wedi medi yn helaeth o ffrwyth eu llafur. Y mae yr hyn oedd unwaith yn goedwig, yn awr wedi ei droi yn berllanoedd, ac yn faesydd. Y mae Ontario yn awr yn hen sefydliad, ac y mae y tir yn lled uchel ei bris. Mewn cymydogaethau ffafriol, y mae £20 y acer yn cael ei roddi am y tir mwyaf diwylledig, ond gellir prynu tir am £2 yr acer. Y canolbris ydyw £10 yr acer. Buan y byddai i deulu o'r Hen Wlad deimlo yn gartrefol yn Ontario, gan fod yno farchnadoedd cyfleus a da, a phob manteision addysgawl, a manteision eraill. Dywedir fod yr hinsawdd yn dra dymunol, ond y mae yr hâf lawer yn boethach, a'r gauaf yn llawer oerach, nag yn y wlad hon. Y mae dull yr amaethu yno yn ddigon tebyg i'r eiddo ni, sef yn gymysgedig. Dyma yr unig dalaeth, yn mha un y gwelsom wenith wedi ei hau yn yr hydref. Y mae nifer mawr o ffermwyr o Ontario wedi myned i'r Gorllewin, a llawer hefyd o feibion yr amaethwyr hyn wedi gwneyd yr un peth. Os digwyddai i ni weled Canadiad yn y Gogledd-Orllewin, byddai yn sicr o droi allan i fod yn ymfudwr o Ontario. Yn ddiddadl, dyma y dosparth goreu i fyned yno; gwyr y rhai hyn pa fodd i adeiladu eu tai, a gwyddant pa fodd i osod y tir mewn trefn. Mewn gwirionedd y mae ffermwr Ontario yn "ddyn crwn"—yn ddysgedig, yn weithiwr caled, yn ddiwyd, ac yn eofn. Yn Ontario,

canolswm gwenith yr hydref ydyw 20 bwsiel i'r acer; gwenith y gwanwyn, 15 bwsiel; haidd, 25 bwsiel; ceirch, 35 bwsiel; pys, 20 bwsiel; gwair a chlofer, ychydig dros dunell; pytatws, 118 bwsiel; *mangolds*, 440 bwsiel; moron, 554 bwsiel; maip, 418 bwsiel. Heb law y cynyrchion a nodwyd, y maent hefyd yn tyfu cywarch, llin, a thybaco. Y mae Ind-rawn a *tomatoes* yn aeddfedu yn dda, a gellir yn hawdd dyfu eiryn gwlanog a grawnwin yn yr awyr agored. Dywedai un sefydlydd wrthym fod ffermwr Ontario yn awr yn troi ei sylw yn fwy at annifeiliaid, gan ddefnyddio y rhan fwyaf o'i gynyrchion gartref, a'u troi i gig eidion, cig defaid, &c., &c. Y mae cryn lawer o gaws yn cael ei wneyd yno, ac ystyrir caws Ontario fel yn gydradd â chaws Seisnig.

**Manitoba.**—Y mae Talaeth Manitoba yn cynwys 74,000,000 o aceri, ac y mae y boblogaeth yn 150,000. Gwastattir (*prairie*) ydyw y rhan fwyaf, gyda bryniau a dyffrynoedd, amryw o goedwigoedd, a rhai llynoedd mawrion. Y mae y llynoedd yn llawn o bysgod, ac, ar adegau, o hwyaid a gwyddau. Nid ydyw y dwfr sydd ar y wyneb yn dda. gan fod ynddo ormod o halen, ond gellir d'od o hyd i ddwfr da trwy fyned i lawr i ymofyn am dano. Y ffordd fwyaf cyffredin o godi dwfr o'r dyfnderau ydyw, gyda melin wynt. Y mae yr hinsawdd yn oer yn y



FFERMDY, DEHEUDIR MANITOBA.

gauaf ac yn gynhes yn yr hâf. Weithiau yn y gauaf disgyna y gwres-fesurydd 40 o raddau is na *zero*, ac yn yr hâf y canolrif ydyw o 65 i 75 o raddau. Er fod y gauaf yn oer o'i fesur yn y dull arferol, dywedir fod sychder yr awyrgylch a'r wybren glir wastadol, yn ei wneyd yn haws i'w ddioddef na'r un dymheredd ar draeth yr Atlantic; a barnu oddiwrth olwg y trigolion, rhaid fod yr hinsawdd yn un iach—y mae y plant yn enwedig yn edrych yn dda. Diffygion yr hinsawdd ydyw ystormydd, *blizzards*, a rhew yn yr hâf. Mewn rhai parthau gwna ystormydd cenllysg niwed i'r gwenith, ond y mae y rhan fwyaf o'r ffermwyr yn yswirio rhag y golled hon, gan y gallant wneyd hyny am swm bychan Yr hâf presenol daeth gwyntoedd cynhes i aeddfedu y cnydau yn rhy fuan, gan achosi colledion trymion. Disgyna yr eira yn mis Tachwedd hyd nes y bydd tua

18 modfedd o dewdwr; arhosa ar y ddaear yn ddieithriad, heb ystormydd, meiriol, gwlaw, na niwl, hyd Ebrill, pan yr â ymaith. Drwy y dydd y mae yr haul yn tywynu yn ddisglaer. Nid oes cylch-ystormydd (*cyclones*) yn Manitoba; nid oes ond ychydig o wlaw yn disgyn, a hwnw yn mis Mehefin. Y ffordd fwyaf arferedig o deithio yn y gauaf ydyw gyda llysg-gerbydau. Can gynted ag yr â yr eira ymaith, daw yn brysurdeb ar y ffermwr. Rhaid iddo hau ei wenith; y mae yn syndod mor rhad y gallant hau y gwenith wrth yr acer. Y mae yn anhawdd yno, fel yma, ddyweyd pa faint y mae trin y tir yn ei gostio, gan fod hyny yn dibynu gymaint ar y cyflwr yn mha un yr oedd y tir yn flaenorol; os yn fraenar hâf y mae yn llawer mwy costus—y mae tori y tir glas hefyd yn fwy costus; ond os troi sofl yn unig sydd eisieu, nid ydyw y draul ond ychydig. Cefais y manylion canlynol gan ffermwr, yn mha un y mae genyf bob ymddiried :—

| | | |
|---|---|---|
| Tori tir newydd ... ... ... ... ... ... | 16/- i 20/- | yr acer. |
| Aredig sofl ... ... ... ... ... ... ... | 5/- i 6/- | ,, |
| Llyfnu ... ... ... ... ... ... ... | 7½c. i 10c. | ,, |
| Hâd (2 fwsiel am 56 *cents*) ... ... ... | 4/- | ,, |
| Hau, gyda pheiriant all hau 80 acer y dydd | 3½c. | ,, |

CYNHAUAF.

| | | |
|---|---|---|
| Llinyn ... ... ... ... ... ... ... | 1/- | yr acer. |
| Tori ... ... ... ... ... ... ... ... | 2/- | ,, |
| Ystwcio ... ... ... ... ... ... ... | 7½c. | ,, |
| Cyfanswm y Cynhauaf, oddeutu ... ... | 4/- | ,, |
| Dyrnu ... ... ... ... ... ... ... | 5/- | ,, |
| Anfon i'r farchnad (i Loegr) ... ... ... | £1 8s. 4c. | ,, |

Gwneir agos i holl waith y cynhauaf gan yr hunanrwymydd. Gall y peirianau hyn dori a rhwymo tua deg acer yn y dydd. Y mae digon o waith i ddau ddyn i ystwcio yr yd ar ol un peiriant. Y maent yn rhoddi o 15 i 20 o ysgubau yn mhob ystwc. Torir y gwenith o naw modfedd i drodfedd o uchder oddi wrth y llawr, gan nad ydyw gwellt o unrhyw bwys yno. Ar ddiwrnod dyrnu defnyddir y gwellt i godi agerdd, trwy ei losgi yn y berwedydd. Tynir y gweddill i'r meusydd, a llosgir ef. I mi, ymddanghosai hyn yn wastraff mawr, wrth ystyried prinder y gwellt yn y wlad hon. Y maent yn gosod y teisi bob yn bedair ar y maes, ac yn rhoddi y dyrnwr rhyngddynt. Y mae cryn lawer o'r yd yn cael ei ddyrnu yn uniongyrchol o'r ystwciau. Bydd dau ddyn yn tori y rhwymau, ac yn cynorthwyo yr hwn fydd yn "porthi" y peiriant, un o bob ochr. Gan fod y gwellt yn fyr, nid ydyw yn rhyfedd eu bod yn gallu dyrnu symiau mor anferthol mewn diwrnod. Yr wythnos o flaen ein hymweliad ni â'r lle yr oedd peiriant wedi dyrnu yn Indian Head 2,260 bwsiel mewn wyth awr. Y mae yn hawdd gwybod pa faint o yd a ddyrnir, gan ei fod yn cael ei roddi mewn sachau yn dal yn

union ddau fwsiel. Canolswm gwaith diwrnod ydyw, o 1,500 i 2,000 o fwsieli. Nid ydyw y ffermwyr ar frys i gario yr yd, gan nad oes berygl gwlaw ar yr adeg hono o'r flwyddyn. Nid ydynt yn toi eu teisi, nac yn cymeryd nemawr drafferth gyda hwynt er mwyn ymddanghosiad. Y mae y gwenith yn cael ei gario yn syth o'r ystwciau a'r dyrnwr i'r "dyrchafydd," lle y glanheir ef, ac y trysorir ef ar ei gilydd i uchder o 70 o drodfeddi. Pe byddai i'n gwenith ni gael ei gario yn yr un dull, ni byddai yn werth ond yn unig i'r domen. Y mae ansawdd gwenith Manitoba—sef gwenith Rhif I. caled—yn ddigon adnabyddus, fel nad oes eisieu ei ganmol; y mae yn wastad alwad am dano yn Llynlleifiad, ac mewn marchnadoedd yd eraill, a thelir y pris uchaf am dano.

**Y Taleithiau Gogledd-Orllewinol.**—Y mae y taleithiau hyn yn sefyll i'r gorllewin, a'r gogledd-orllewin o Manitoba; enw y brif dref ydyw Regina. Nid ydyw yr hinsawdd mor oer ag yn Manitoba; y mae gwynt y *chinook* (hyny ydyw, gwynt cynhes o'r Môr Tawelog) yn chwythu dros y wlad, ac yn toddi yn fuan y rhew a'r eira. Yn y rhanbarth hon y mae y rhodfeydd (*ranches*) mwyaf i geffylau, defaid a gwartheg. Ychydig o gysgod y mae yr annifeiliaid yn galw am dano, ac nid oes arnynt angen llawer o fwyd gauaf, ond nid oes yr un ffermwr yn ddiogel os na bydd iddo ddarparu ar gyfer gauaf eithriadol. Yr oedd y gwartheg yn nghymydogaeth Edmonton mewn cyflwr rhagorol o dda; yn yr un gymydogaeth gwelsom yroedd da o ddefaid. Yn fy marn i y mae y gymydogaeth hon yn dra chyfaddas i ddefaid, gan ei bod yn wastattir tonog gyda digonedd o ddwfr da. Hyd yn bresenol, nid ydyw magu defaid wedi cael y sylw ag y mae yn ei haeddu—o'r hyn lleiaf, yn y lleoedd yr ymwelasom ni â hwynt. Yr oedd y cnydau a welsom yn y taleithiau hyn y rhai goreu a welsom yn ystod ein taith. Yr oedd y cnydau gwenith yn Indian Head a'r cnydau ceirch a haidd yn Edmonton, yn llawer gwell na dim a welsom mewn lleoedd eraill. Dywedir fod y gwenith yn rhoddi mor uchel a 55 bwsiel yr acer, y ceirch 100 bwsiel, a'r haidd 45. Wrth gwrs, cnydau eithriadol oedd yn gwneyd hyn, ac y mae y canolswn yn is. Yr hyn sydd yn erbyn y wlad ydyw y pellder o farchnadoedd da. Fel ag y cynydda y boblogaeth, bydd i'r diffyg hwn gael ei wneyd i fynu yn rhanol. Y ffordd oreu ar hyn o bryd ydyw troi y cynyrchion mor gynhwysfawr ag sydd yn bosibl, eu gwneyd yn gaws, cig eidion, gwlan, &c., &c. Gan fod digonedd o lô wedi ei ddarganfod, y mae yn sicr y bydd i weithfeydd gael eu codi i fynu, ac nid ydyw dadblygiad y wlad ond cwestiwn o amser. Gellir sicrhau tir yn rhad iawn, un ai gan Gwmni Rheilffordd Canada a'r Môr Tawelog—gan ba rai y mae llawer o dir, yr hwn a werthant am o 8/- yr acer i fynu—neu gan gynrychiolwyr y Llywodraeth. Os bydd i'r prynwr dalu arian parod, caiff ei weithredoedd ar unwaith; ond gellir gohirio y talu, a'i chwalu dros naw mlynedd, trwy dalu y ddegfed ran i lawr, a thalu llôg am y gweddill yn ol £6 y cant yn y flwyddyn. Gellir cael tir am ddim, sef chwarter-ran—160 o aceri—i unrhyw ben teulu, neu unrhyw un dros 18 oed, trwy dalu deg doler, ac ufuddhau i'r amodau

yn nghylch adeiladu a diwyllio. Gellir cael yr holl fanylion gan gynrychiolwyr tirol y Llywodraeth. Fy nghyngor i, i'r newydd-ddyfodiaid i'r Taleithiau hyn, neu i unrhyw ran o'r wlad, ydyw, peidio rhuthro i brynu fferm mor fuan ag y cyrhaeddont yno. Byddai yn llawer gwell iddynt weithio am flwyddyn ar fferm rhywyn arall, neu gadw eu harian yn eu llogellau am yspaid cyffelyb, hyd nes y bydd iddynt adnabod y wlad; buddiol fyddai iddynt hefyd gadw llygad ar y "morgwn tirol" (*land sharks*), pa rai sydd yn dra lliosog. Y mae y trethi yn y rhan hon yn ysgafn iawn—mewn hen sefydliad, y maent tua 12 doler ar 160 o aceri; mewn lleoedd newyddach, nid ydynt ond tua dwy ddoler. Y mae sylw y Canadiaid wedi ei dynu yn ddiweddar at gynyrchu cig eidion—yn y flwyddyn 1892, anfonasant i Brydain Fawr werth 7,481,613 o ddoleri. Y mae rhan fechan o'r swm yma yn cynrychioli gwartheg a anfonwyd i Yscotland a Lloegr, lle yr oeddynt yn cystadlu â'r gwartheg ieuaingc Cymreig—dyna ydyw rhan o achos y pris isel presenol. Gellir prynu bustych, yn pwyso 180 o bwysau y chwarter, ar y gwastattir am dair ceiniog y pwys; yr amcan-gyfrif o'r draul (ar dir a môr) o'u hanfon i'r wlad hon ydyw dwy geiniog y pwys—felly, gellir gwerthu y bustych hyn gyd ag elw yn y wlad hon am ychydig dros pum' ceiniog y pwys. Y mae y ffaith fod y prisiau wedi syrthio i lawr (er's dwy neu dair blynedd) yn Mai, pan y mae yr Afon St. Lawrence yn d'od yn fordwyedig—yr adeg ag y byddem arferol o gael y prisiau goreu o'r flwyddyn—yn profi yn ddigamsyniol fod yn rhaid i ni edrych ar Canada, ac yn enwedig y gwastattiroedd hyn, fel gwrthwynebwyr cryfion. Os bydd i'r gystadleuaeth hon gynyddu yn y blynyddoedd nesaf fel ag y mae wedi gwneyd yn y ddwy flynedd diweddaf (ac yn fy marn i, nid ydyw masnach gwartheg Canada etto ond yn ei babandod) bydd yn rhaid i amaethwyr y wlad hon, gyda'u rhenti uchel, eu degymau, eu trethi a'u galwadau eraill, un ai ymfudo neu roddi y goreu iddi.

**Columbia Brydeinig.**—Y mae y dalaeth hon o'r "gorllewin pell" yn sefyll ar lan y Môr Tawelog, ac yn cynwys amryw o ynysoedd, megis Vancouver, Ynys y Frenhines Charlotte, &c., &c. Y mae yr hinsawdd yn fwy unffurf nag eiddo y taleithiau eraill, yr hâf heb fod mor boeth, na'r gauaf mor oer; anaml yr erys eira ar y llawr. Y mae ymddanghosiad a gwynebpryd y trigolion yn dangos nad ydyw yr hinsawdd yn anhebyg i eiddo yr Hen Wlad. Cymhellir y lle gan feddygon fel lle i gael iechyd; y mae y llysieu yn wyrdd yn ystod bron yr oll o'r flwyddyn. Mae yno lawer mwy o wlaw yn disgyn nag sydd yn Manitoba a'r Taleithiau Gogledd-Orllewinol. Yn wahanol i ranau eraill Canada, prif gyfoeth Columbia Brydeinig ydyw ei mwn. Yn eu mysg y mae aur, arian, haiarn, copr, glô, plymlwg, arian byw, pladin, plwm du, mica, llech, halen, &c. Y mae y mwnau hyn yn rhoddi gwaith i lawer o bobl. Y mae masnach goed y rhanbarth hon yn dra adnabyddus; y mae ymweliad â'r melinau llifio ar unwaith yn brofi cyfoeth dirfawr y lle mewn coed. Y mae ffynidwydden Douglas, y byrwydden, y gedrwydden, a'r pren cegid (*hemlock*) yn tyfu i faentioli aruthrol. Y mae llawer o fwyd Columbia Brydeinig—yn wahanol i ranau eraill Canada—yn cael ei

dadforio. Y mae y blawd yn dyfod o'r Gogledd-Orllewin, ac y mae hyn yn profi fod galwad, a lle mae galwad, mae hefyd bris. Yr ydwyf yn gwbl argyhoeddedig y gellir gwneyd mwy o arian o acer o dir yno, nac yn y wlad hon. Y mae yno farchnad dda i wair, caws, ymenyn, wyau, &c. Y mae y tir cyfoethog sydd yn y dyffrynoedd, ac ar lan yr afonydd, yn meddu cymhwysder arbenig i gynyrchu y nwyddau, ag yr ydwyf wedi eu henwi, fel rhai a galw am danynt. Y mae y tir pori yn gyfoethog, ac yn rhoddi o dair tunell i bedair tunell o wair i'r acer. Tyfir hopys yn llwyddianus yno, ac anfonir y rhan fwyaf o'r cnwd i'r marchnadoedd Prydeinig. Rhaid fod cychwyn ffermio yn Columbia Brydeinig yn gostus. Gwertha tir da mor uchel a £30 yr acer. Wrth gwrs, gellir prynu tir yn rhattach na hyny, ond bydd raid ei glirio oddiwrth y coedydd mawrion sydd yn tyfu arno.

**Diweddglo.**—Wrth orphen hyn o hanes, yr ydwyf yn meiddio dyweyd wrth fy nghydwladwyr, os bydd iddynt ymfudo i Canada, y byddant yn fwy annibynol, nag y gall y rhan fwyaf o honynt obeithio bod byth yn y wlad hon. Rhaid iddynt weithio yn galed—os na wnant, nid yw o un dyben iddynt ymfudo—ond yn ol pob tebyg, bydd iddynt fedi o ffrwyth eu llafur yn gynt nag yn eu hen gartrefi.

Yn y wlad hon, y peth cyntaf raid ei wneyd, ydyw, rhoddi cost fawr ar y tir, o herwydd ei gyflwr dyhysbyddedig. Yn Canada y mae y tir yn newydd, ac nid oes angen am unrhyw fath o wrtaith. Yma, disgwylir i'r tir gadw y tirfeddianwr, y goruchwylwyr, y personiaid, yr amaethwyr, y llafurwyr, a'r tlodion; heblaw dwyn beichiau trymion mewn cyssylltiad â'r ffyrdd, heddgeidwaid, glanweithdra, addysg, a materion eraill. Y mae y degymau a'r trethi, yn y wlad hon, yn cyrhaedd canolswm o 8/- yr acer. Nid ydyw yn rhyfedd, gan hyny, fod y tir, mewn llawer o engrheifftiau yn methu gwneyd hyn. Yn Canada, yr oll ag y disgwilir i'r tir ei wneyd, ydyw talu am ei ddiwylliant ei hun, cadw yr amaethwr a'i deulu, a thalu tua chwe' cheiniog yr acer o drethi.

Mewn tyfu gwenith, nid oes gydmhariaeth rhwng Canada a'r wlad hon. Nis gall ein tir dyhysbyddedig ni yn awr, ac nis gall byth, gystadlu yn llwyddianus gyda thir newydd, bras, Manitoba. Yn ychwanegol at y gwahaniaeth yn y tir, rhaid cofio hefyd y gwahaniaeth yn y gofynion ar y tir, pa rai y cyfeiriwyd attynt eisoes. Gan hyny, rhaid i ffermwyr ag sydd yn dymuno tyfu yd ymfudo o'r wlad hon i rywle cyffelyb i'r hyn yr ydym wedi ei ddesgrifio, lle y mae yr amodau yn mwy ffafriol; ar yr un pryd, y mae yn hollol amlwg nad yw tyfu gwenith yn talu, hyd yn oed yn Canada, gyda'r prisiau isel presennol. I'r rhai sydd â'i bryd ar fagu anifeiliaid, y mae Canada yn cynyg amryw o fanteision. Y mae ei gwastadeddau eang, agored; ei phorfa gyfoethog; a'i hinsawdd (yn enwedig yn y Gogledd-Orllewin), yn neillduol o gymhwys tuag at fagwriaeth anifeiliaid, yn enwedig gwartheg, ceffylau, a defaid, ac hefyd i ddybenion y llaethdy.

Ni ddylai ffermwyr sydd yn gysurus yn ei sefyllfa bresenol ymfudo, na'r rhai hyny nad ydynt gymhwys at waith caled yn yr awyr agored. Ond y mae yn bosibl, ie, hyd yn oed yn debyg, y gallai y ffermwyr gweithgar hyny, pa rai, er eu holl ddiwydrwydd, na allant enill bywoliaeth ar eu ffermydd, fod yn well allan yn Canada, ac yn fwy sicr o lwyddiant yn y pen draw. Y peth goreu i'w ddyweyd wrth lafurwyr amaethyddol ydyw, fod yn Canada yn awr, nifer mawr o ffermwyr, pa rai a ddechreuasant eu bywyd yn y wlad hono fel llafurwyr, ond y rhai, trwy ddiwidrwydd a dyfalbarhad, a weithiasant eu hunain i fynu, nes yn awr y maent yn meddianu eu ffermydd eu hunan. Eisoes yn yr Adroddiad hwn y mae amryw o dablau o gyflogau wedi eu rhoddi, a bydd y rhai hyny yn foddion i'r llafurwyr hyny sydd heb gyfalaf, i benderfynu a ydyw yn werth iddynt ymfudo ai nad ydyw. Y mae cyflogau gweision teuluaidd ac eraill hefyd wedi eu rhoddi.

Yn awr, nid oes genyf ond datgan fy niolchgarwch mwyaf diffuant i'r Canadiaid croesawgar am eu holl garedigrwydd a'u cymhorth, y rhai a roddasant o'u calonau, ac i ba rai nid oedd diwedd.



Golwg ar Fferm, Manitoba.

# ATTODIAD.

## Hyspysrwydd Cyffredinol yn nghylch Canada.

**Hyspysrwydd Cyffredinol.**—Y mae Llywodraeth Canada yn cynwys y rhan Brydeinig o Ogledd America i'r gogledd o'r Unol Daleithiau, ac y mae iddi arwynebedd o agos i 3,500,000 o filltyroedd ysgwar. Y mae yn cael ei rhanu i wyth o daleithiau gwahanol, ac yr oedd y boblogaeth yn y Cyfrifiad diweddaf yn 4,829,411, ac wedi eu rhanu fel y canlyn:—Ynys y Tywysog Edward, 109,088; Nova Scotia, 450,523; Brunswick Newydd, 321,294; Quebec, 1,488,586; Ontario, 2,112,989; Manitoba, 152,472; y Tiriogaethau Gogledd-Orllewinol, 67,554; Columbia Brydeinig, 92,767; a'r Tiriogaethau sydd heb eu trefnu, 32,168. Bydd yn haws deall maint y wlad trwy ddyweyd ei bod yn fwy na'r Unol Daleithiau, a gadael allan Alaska, ac agos gymaint a holl gyfandir Europe.

**Cyfansoddiad a Llywodraeth.**—Wrth ben llywodraeth y wlad y mae y Llywodraethwr Cyffredinol yn cynrychioli Ei Mawrhydi. Y mae Senedd y Llywodraeth yn cynwys y Senedd a Thy y Cyffredin, ac y mae llywodraeth y dydd yn llaw y mwyafrif, o ba rai y mae y Cyfringynhor, pa rai sydd yn gweithredu fel Cynghorwyr y Llywodraethwr Cyffredinol, yn cael eu cymeryd. Y mae aelodau y Senedd yn cael eu dewis am ystod eu bywyd gan y Llywodraethwr Cyffredinol, ac y mae parhad Ty y Cyffredin wedi ei benodi gan y gyfraith, yn bum' mlynedd. Y mae gan bob talaeth hefyd ei Senedd Leol; mewn rhai amgylchiadau dau Dy, fel yn Ynys Tywysog Edward, Nova Scotia, Brunswick Newydd, a Quebec; ac mewn eraill dim ond un Ty, fel yn Ontario, Manitoba a Cholumbia Brydeinig. Y mae pen y Llywodraeth Leol yn cael ei alw yn Is-Lywodraethwr (*Lieutentant Governor*), ac yn cael ei benodi gan y Llywodraethwr Cyffredinol. Y mae cyfansoddiad Canada yn Neddf Gogledd America Brydeinig, 1867, yr hon sydd yn deffinio gallu ac awdurdod y Llywodraeth Gyngrheiriol ar Llywodraethau Lleol. Gellir dyweyd, yn gyffredinol, fod y flaenaf yn ymdrin â materion fyddo yn effeithio ar y wladwriaeth, fel y cyfryw; a'r olaf â materion o ddyddordeb lleol. Y mae saith-mlynedd-a'r-hugain o brofiad yn dangos fod y wlad wedi gwneyd cynydd mawr o dan y sefydliadau presenol, ac y mae yr egwyddor o undeb yn cael ei gydnabod gan bob plaid wleidyddol, fel y sylfaen sicr, ar ba un y mae dyfodol Canada yn gorwedd. Y mae yr etholfraint sydd mewn gweithrediad gyda'r Senedd Gyngrheiriol a'r Seneddau lleol, yn un rydd a

hunanlfrydig, o dan ba un y mae y rhan fwyaf o ddynion yn meddu pleidlais. Yn y taleithiau y mae hefyd Gynghorau Sirol a Threfedigol, er rheoli materion lleol, megys ffyrdd, ysgolion, ac amcanion bwrdeisiol eraill, er mwyn gwneyd Llywodraeth Canada mor an-nghanolog (*decentral*) ag sydd yn bosibl, gyd ag yspryd y wlad-lywiaeth ymherodrol, a nodwyd eisoes.

**Hinsawdd.**—Nid oes dim sydd yn cael ei gamddarlunio a'i gamddeall, gymaint, mewn cyssylltiad â Chanada, a'r hinsawdd, ond nid oes eisieu ond cael profiad o hono er mwyn gallu ei fwynhau. Y mae yn gynhesach yn yr haf, ac yn llawer oerach yn y gauaf, nag yn Mhrydain Fawr; ond y mae y gwres yn ffafriol i dyfiant ffrwythau a chnydau, ac y mae yn mhob modd yn hyfryd a llesol, ac nid ydyw yr oerni yn gwneyd niwed i iechyd na bywyd. Mewn gair, y mae Canada yn un o'r gwledydd iachaf yn y byd. Y mae y gauaf yn parhau o fis Tachwedd neu ddechreu Rhagfyr, hyd ddiwedd Mawrth neu ganol Ebrill; y gwanwyn o Ebrill i Mai; yr haf o Fehefin i Fedi; a'r cynhauaf o Hydref hyd ddiwedd Tachwedd. Y mae y tymhorau yn cyfnewid weithiau, ond yr uchod ydyw canolswm parhad y gwahanol yspeidiau. Gellir mesur natur hinsawdd gwlad trwy ei chynyrchion. Y mae y rhan fwyaf o'r crefftau a'r gweithfeydd yn cael eu cario yn mlaen yn y gauaf fel arferol, ac y mae y cyffelyb waith yn cael ei wneyd ar fferm Ganadaidd yn yr hydref a'r gauaf, ag a wneir mewn ffermydd Cymreig, Seisnig, Gwyddelig, neu Yscotig. Wrth gwrs, nid ydyw aredig yn bosibl yn nghanol y gauaf, ond gwneir hyny yn yr hydref ac yn nechreu y gwanwyn. Yn y gauaf, rhaid porthi yr annifeiliaid, edrych ar ol y llaethdy, dyrnu y grawn, rhoddi y gwahanol beirianau mewn trefn, cludo llwythi, tori coed, a gwneyd parottoadau erbyn y gwanwyn, fel nad ydyw y tymhor o gwbl yn un segur. Un peth sydd eithaf sicr—ni fuasai y wlad wedi dadblygu mor gyflym ag y mae wedi gwneyd, ac ni fuasai y boblogaeth wedi cynyddu i'r maint presenol, pe buasai yr hinsawdd yn anffafriol i iechyd, llwyddiant, a chynydd y wlad. Wrth gwrs, y mae tymhorau da a thymhorau drwg yn Canada, fel yn mhob man arall; ond, a chymeryd pob peth gyda'u gilydd, bydd i'r hinsawdd gymharu yn ffafriol â gwledydd eraill mewn lledred cyffelyb.

**Tymheredd.**—Gan fod cyfeiriad mynych yn cael ei wneyd at dymheredd Manitoba a'r Tiriogaethau Gogledd-Orllewinol, dymunol ydyw cofnodi y ffigyrau swyddogol sydd yn gyssylltiol â'r cwestiwn. Tymheredd canolog Winnipeg yn yr haf ydyw 60·3°, ac yn y gauaf 1°; Brandon, 58·1° a 1·8°; Tref y Rhaiadr, 62·2° a 2·7°; Portage-la-Prairie, 61·8° a 12·6°. Yn y Tiriogaethau Gogledd-Orllewinol, y mae canolswm tymheredd haf a gauaf yn y lleoedd a enwir fel y canlyn:—Regina, 59·2° a 2·4°; Calgary, 55·6° a 12·2°; Edmonton, 55·2° a 11·3°. Rhaid nad ydyw y tymheredd yn cyrhaedd yr eithafion a nodir weithiau, ond yn dra anaml, neu byddai yn anmhosibl i ganolswm tymheredd y gauaf fod yn debyg i'r ffigyrau a roddwyd uchod.

**Cynyrchion Canada.**—Y mae cyfeiriad wedi cael ei wneyd mewn man arall at gynyrchion amaethyddol Canada. Y mae y wlad hefyd yn

dra chyfoethog yn y coed sydd yn tyfu yn y coedwigoedd anferthol, ac yn ei mwnau o bob math, megis glô, aur, arian, haiarn, copr, &c. Rhaid cyfeirio hefyd at y pysgodfeydd ar hyd y traethau eang ar ochr yr Atlantic, y Tawelfôr, ar llynoedd a'r afonydd mewnol. Y mae y rhai hyn yn dra gwerthfawr ac amrywiol, ac yn cael ei prisio i fod yn werth amryw o filiynau o bunau yn flynyddol. Y prif bysg ydynt yr eog, y brithyll, y penfras, y penog, y macrell, y lleden chwith, a'r hadog; y mae y llymeirch a'r ceimwych hefyd yn dra lliosog. Y mae y gwahanol weithfeydd eisoes yn meddianu safle bwysig, ac yn cynyddu fwyfwy bob blwyddyn; y mae bron bob math o weithfeydd yn cael eu cario yn mlaen. Nid ydyw y gweithgarwch hwn yn cael ei gyfyngu i un rhan o Canada, ond y mae i'w weled yn yr oll o'r hen daleithiau, ac nid oes dadl na bydd iddo mewn amser, ymestyn i ranau gorllewinol y wlad hefyd.

**Tirwystlon.**—Gwneir cyfeiriad weithiau at y ffaith fod rhai o ffermydd Canada wedi eu tirwystlo (*mortgaged*). Y mae yn angenrheidiol cofio, pa fodd bynag, fod y rhan fwyaf o ffermwyr Canada yn dechreu ffermio heb ond ychydig neu ddim cyfalaf. Er mwyn codi cyfalaf mewn achosion o'r fath, tirwystlir y fferm; ond nid ydyw y cwmniau benthyciol, fel rheol, yn echwyna mwy na haner gwerth yr eiddo. Nis gellir cyferbynu y llog a delir, am foment, i'r ardreth a delir am ffermydd cyffelyb yn y Deyrnas Gyfunol, ac nid ydyw y ffaith o fodolaeth y tirwystl, o dan yr amgylchiadau hyn, yn niweidiol i sefyllfa y ffermwr. Nid yn unig y mae y llog yn cael ei dalu yn rheolaidd, ond y rheol ydyw fod y corph yn cael ei dalu hefyd mor fuan ag y daw yn ddyledus. Y mae colledion cwmniau Canada yn gydmhariaethol fychain, ac y mae yr ariansawd felly yn un dda i'r hwn sydd yn rhoddi y benthyg, ac yn fantais i'r ffermwr.

**Dadforion ac Allforion Masnachol.**—Y mae masnach Canada—ei dadforion ai hallforion—yn cyrhaedd y swm o £45,000,000 yn y flwyddyn; y mae y rhan fwyaf o hono gyda Phrydain Fawr, a'r Unol Daleithiau, ac y mae y gweddill gyda gwledydd Europeaidd, India Orllewinol, America Ddeheuol, Awstralasia, China, a Japan. Nid ydyw y ffigyrau a nodir uchod yn cynwys ond y fasnach allanol yn unig; nid ydyw y fasnach rhwng y gwahanol daleithiau i mewn ynddynt. Masnach rydd hollol sydd yn bodoli o fewn terfynau y Deyrnas, ac y mae y fasnach leol yn helaeth iawn, fel y mae y nifer o dunelli sydd yn cael eu cario ar y rheilffyrdd, y camlesydd a'r man-longau yn profi. Y mae y cyllid yn awr yn cyrhaedd 36,000,000 o ddoleri yn y flwyddyn, o ba un y mae tuag ugain miliwn o ddoleri yn cael eu derbyn oddiwrth dollau ar nwyddau sydd yn cael eu dadforio i Canada.

**Marchnadoedd**—Y mae marchnadoedd, un ai oddifewn neu oddiallan i'r Deyrnas, yn bodoli ar gyfer holl gynyrch y wlad, ac nid oes unrhyw anhawsder yn y cyfeiriad hwn. Y mae marchnadoedd newydd wedi cael eu darparu trwy sefydliad y llinell o agerlongau ag sydd yn awr yn morio i India Orllewinol, Australasia, China, a Japan. Y mae Canada yn meddu cyfundrefn dda o reilffyrdd, a dwfr-gludyddion, ac y

mae y llongau a feddienir yn Canada, mor liosog, nes rhoddi i'r wlad le uchel yn mysg y gwledydd hyny sydd yn perchenogi llongau. Y mae rheilffordd yn ymestyn o Gefnfôr yr Atlantic i'r Cefnfôr Tawelog, ac y mae gan bob talaeth fanteision rheilffyrdd rhagorol; mewn gwirionedd, y mae dros 15,000 o filltyroedd o reilffyrdd mewn gwaith, ar yr adeg bresenol. Y mae yr afonydd a'r camlesydd wedi eu gwellhau gymaint yn ystod y blynyddoedd diweddaf, fel ag y gall y llongau mwyaf ag sydd yn croesi y Cefnfôr, gael eu sicrhan yn hwylus yn y porthladdoedd yn Quebec a Montreal, ac y mae yn bosibl i long o 500 o dunelli basio o'r Atlantic i'r llynoedd mawrion. Bydd i'r helaethiad ar y camlesydd sydd yn awr yn myned yn mlaen, a'r hwn sydd i'w orphen yn y flwyddyn 1895 alluogi agerlongau o 2,000 o dunelli, pa rai sydd yn croesi y cefnfôr, hwylio drwodd hyd ben Llyn Hwyliant (*Lake Navigation*), heb dori ar eu llwythi

**Gwahaniaeth Cymdeithasol.**—Nid ydyw gwahaniaeth dosparthiadau yn bodoli yn Canada gymaint ag yn y fam wlad. Nid oes yno ddeddf cyntafenedigaeth, ac nid oes yno dlodion (*paupers*); y mae teimlad iach o annibyniaeth yn treiddio trwy bob dosparth, yr hyn, yn ddiamheu, sydd yn codi o'r ffaith fod pob ffermwr yn perchenogi ei dir ei hun, yn feistr arno ei hun, ac yn rhydd i wneyd fel y myno—cyflwr a'r bethau sydd yn tueddu i sefyllfa o ryddid anadnabyddus mewn gwledydd hynach. Y mae y trethi yn isel, ac y mae amryw o anhawsderau cymdeithasol, pa rai sydd yn awr yn destynau dadleuon yn Mhrydain Fawr, wedi eu penderfynu yn Canada flynyddau yn ol. Y mae rhyddid crefyddol yn teyrnasu; y mae addysg, mewn gwirionedd, yn rhydd ac ansectyddol; y mae yr etholfraint yn un rydd a haelfrydig; y mae dewisiad lleol, mewn cysylltiad â'r diodydd meddwol, mewn gweithrediad; nid ydyw y senedd dymhor yn parhau am fwy na phum' mlynedd, a thelir i'r aelodau am eu gwasanaeth; y mae priodas gyda chwaer gwraig drancedig yn gyfreithlawn; ac nid oes gyfundrefn o ddeddfau y tlodion, er fod yr amddifaid, yr analluog, a'r hen, o'r ddau ryw heb eu hesgeuluso, gan y gofelir am danynt o dan y gyfundrefn fwrdeisiol. Yna, hefyd, y mae cyfundrefn dda o lywodraeth leol ar waith yn y taleithiau. Y mae y gyfundrefn o addysg sydd mewn gweithrediad—o dan arolygiad ac arweiniad y Llywodraethau Taleithol—yn galluogi i'r addysg oreu gael ei chyfranu, am gost hynod o fychan, ac felly gall y tlawd yn gystal a'r cyfoethog wneyd eu hunain yn gymhwys i'r sefyllfaoedd uchaf yn y wlad. Mewn egwyddor, yr un gyfundrefn sydd mewn gweithrediad yn y gwahanol daleithiau, er fod y manylion yn gwahaniaethu rhyw gymaint. Mewn pob dosbarth ysgol, etholir ymddiriedolwyr i reoli yr ysgolion ar ran y trigolion, pa rai sydd yn talu treth fechan at eu cynhal, tra y mae y gweddill yn cael ei dalu trwy roddion sylweddol gan y llywodraethau lleol. Nid ydyw yn angenrheidiol i ddeiliaid Prydeinig fyddo yn sefydlu yn Canada gael eu rhydd-freinio; y mae ganddynt hawl i holl iawnderau a breintiau eu cyd-ddeiliaid Prydeinig, pa rai fyddo wedi eu geni yno—yn wir, nid ydyw symudiad teulu i Canada yn gwneyd dim mwy o wahaniaeth yn eu sefyllfa fel deiliaid Prydeinig, na phe buasent wedi myned i unrhyw ddinas, tref neu bentref

yn y Deyrnas Gyfunol. Wrth gwrs, mae hyn yn wahanol os ânt i'r Unol Daleithiau, neu unrhyw wlad dramor arall. Os ânt i wledydd tramor, rhaid iddynt ymwrthod â'u genedigaeth-fraint, a'u ffyddlondeb i'w teyrn a'u baner, cyn y gallant fwynhau unrhyw un o fanteision gwleidyddol dinasyddiaeth; ac mewn rhai parthau o'r Unol Daleithiau, nis gall ond personau rhyddfreiniol brynu, gwerthu, neu drosglwyddo tir.

**Goruchwylwyr y Llywodraeth yn y Deyrnas Gyfunol.**—Cynghorir y rhai sydd ar fedr ymsefydlu yn Canada, yn y modd mwyaf difrifol, i ymgynghori, un ai yn bersonol neu trwy lythyr, a'r agosaf o Oruchwylwyr Llywodraeth Canada, yn Mhrydain Fawr, cyn cychwyn, fel ag y gallant gael yr hyfforddiant llawnaf a diweddaraf, ag a fyddo yn gymhwysiadol iddynt (gweler y Rhagymadrodd yn nghylch y goruchwylwyr). Rhoddir tocynau o gyflwyniad i Oruchwylwyr y Llywodraeth yn Canada, i bersonau cymhwys. Gellir dibynu ar bob gwybodaeth ag roddir gan y boneddigion hyn. Yna, ar ol cyrhaedd Canada, neu unrhyw adeg ar ol hyny, dylid ymgynghori a'r agosaf o Oruchwylwyr y Llywodraeth, gan eu bod mewn sefyllfa i roddi manylion cywir, am bob peth ag fyddo o ddyddordeb i'r newydd-ddyfodiad.

**Goruchwylwyr y Llywodraeth yn Canada.**—Y mae gan y Llywodraeth Oruchwylwyr yn Quebec, Montreal, Halifax, a St. John, y prif borthladdoedd i lanio yn Canada; ac y mae y gwahanol Lywodraethau Talaethiol hefyd yn arolygu ymfudiaeth mor bell ag sydd bosibl. Yn Toronto, Arolygydd Ymfudiaeth ydyw Mr. D. Spence, 65, Simcoe Street, ac yn Victoria, Columbia Brydeinig, dylid ymgynghori â Mr. Jessop, Goruchwyliwr y Llywodraeth Dalaethol. Yn canlyn y mae rhestr o'r gwahanol bersonau sydd yn Oruchwylwyr Ymfudiaeth, o dan arolygiaeth Swyddfa y Canoldir:—

| | | |
|---|---|---|
| Winnipeg, Man. | Dirprwywr Tir y Llywodraeth, yn cymeryd gofal y Gwasanaeth Allanol yn Manitoba a'r Taleithiau Gogledd-Orllewinol ... ... | Mr. H. H. Smith. |

**Goruchwylwyr yn y Porthladdoedd lle y galwa yr Agerlongau yn Canada.**

| | | | |
|---|---|---|---|
| Mr. E. M. Clay ... ... | Halifax, N.S. | Mr. P. Doyle ... ... ... | Quebec, Q. |
| „ S. Gardner ... ... | St. John, N.B. | „ J. Hoolahan ... ... | Montreal, Q. |

**Goruchwylwyr Tir y Llywodraeth yn Canada, pa rai sydd yn Gweithredu fel Swyddogion Ymfudiaeth.**

| | | | |
|---|---|---|---|
| W. H. Hiam ... ... | Brandon, Man. | Thos. Anderson ... | Edmonton, N.W.T. |
| W. H. Pentland ... | Birtle, „ | C. E. Phipps ... ... | Oxbow „ |
| John Flesher ... | Deloraine, „ | E. Brokovski ... | Battleford „ |
| W. M. Hilliard ... | Minnedosa, „ | Geo. Young ... ... | Lethbridge „ |
| W. H. Stevenson ... | Regina, N.W.T. | T. B. Furguson ... | Saltcoats „ |
| Amos Rowe ... ... | Calgary, „ | John McKenzie ... | Westminster Newydd, B.C. |
| J. G. Jessop ... ... | Red Deer, „ | | |
| John McTaggart ... | Prince Albert „ | E. A. Nash ... ... | Kamloops, B.C. |

Yr amser goreu i bersonau heb ond ychydig, neu ddim, cyfalaf, i fyned allan, ydyw o Ebrill i Gorphenaf, a goreu pa gynharaf. Gall gweinidogion teuluaidd gychwyn ar unrhyw adeg o'r flwyddyn.

**Absenoldeb Mordeithiau Cynhorthwyol.**—Nid oes mordeithiau rhad, neu gynorthwyol, i Canada. Rhaid i'r ymfudwyr eu hunain dalu pris arferol eu cludiad yn yr agerlongau, a rhaid bod ganddynt hefyd ddigon o arian i dalu am eu cludiad gyda'r rheilffordd, o'r porthladd yn mha un y glaniant, i ben eu taith, ac i sicrhau ymborth a lletty hyd nes y cânt waith. Nid ydyw y Llywodraeth yn rhoddi unrhyw gynhorthwy yn y materion hyn, a rhaid i'r oll o'r newydd-ddyfodiaid fod yn hunan-gynhaliol. Nid ydyw Goruchwylwyr y Llywodraeth yn rhoddi tocynau cludiad i deithwyr, a chynghorir y rhai sydd yn bwriadu ymfudo i ymofyn â goruchwylwyr lleol yr agerlongau ar y mater hwnw; nid ydynt, ychwaith, yn argymhell un llinell o agerlongau yn fwy nag un arall—y maent yn hollol anmhleidiol yn y materion hyn.

**Sicrhau Tocyn y Fordaith.**—Nid ydyw yn angenrheidiol dyweyd dim o'r manylion yn nghylch y gwahanol agerlongau sydd yn myned i Canada, nac yn nghylch pris eu tocynau. Gellir cael yr oll o'r hyspysrwydd yna yn ngholofnau hyspysiadol y newyddiaduron, neu gan oruchwylwyr yr agerlongau, pa rai sydd i'w cael yn mhob tref a phentref. Cymhellir teithwyr, i gymeryd tocynau cyflawn, (yn cynwys yr hawl i deithio dros y cefnfôr ac ar y rheilffordd), i ben eu taith yn Canada. Y maent yn cael eu gwerthu gan gwmniau yr agerlongau, a thrwy hyn, y mae yn bosibl yn fynych arbed arian, gan fod tocynau cyflawn yn aml yn costio llai na thocyn y môr a thocyn rheilffordd Canada, os cymerir y naill a'r llall ar wahan. Y mae amryw o gwmniau rheilffyrdd yn Mhrydain Fawr yn gwerthu tocynau rhad, o wahanol leoedd, i'r porthladdoedd lle yr eir ar fwrdd y llongau, megis Llynlleifiad, Llundain, a Glasgow, ac yn yr amgylchiadau hyn ceir pob hyspysrwydd yn swyddfeydd tocynau y rheilffordd.

**Cludlwyth.**—Dylai teithwyr dalu sylw neillduol i ysgrif-gyfeiriad eu cludlwyth (*luggage*). Gellir cael y papyrau angenrheidiol gan gwmniau yr agerlongau. Dylent hefyd gofio nad ydyw cwmniau yr agerlongau yn cario ond swm *cyfyngedig* o gludlwyth yn rhad, yn ol dosparth y tocyn a gymerwyd, ac fod yn bosibl i gwmniau y rheilffyrdd godi tal am unrhyw beth fyddo dros 150 o bwysau. Y mae Cwmni Rheilffordd Canada a'r Môr Tawelog yn cario 300 o bwysau yn rhad, o gelfi ymfudwyr i Manitoba a'r Taleithiau Gogledd-Orllewinol. Y mae o bwys cymeryd gofal wrth benderfynu beth a gymerir i Canada. Gwell fyddai gadael dodrefn, a nwyddau trymion o'r desgrifiad hwnw, ar ol, gan fod y tal a godir am eu cario yn eu gwneyd yn bethau costus; gellir prynu holl angenrheidiau y ty yn Canada. Ni ddylid cymeryd offer amaethyddol, nac arfau, gan fod y nwyddau mwyaf cymhwys i'r wlad, o'r gwneuthuriad goreu, i'w cael ar werth yn mhob pentref yn Canada. Pan y cymhellir crefftwyr a chelfyddydwyr cywrain i fyned allan, gallant cymeryd eu harfau gyda hwynt; ond rhaid iddynt gofio yr hyn a ddywedwyd uchod, a hefyd y gellir prynu yr oll o'r pethau hyn yn Canada am bris rhesymol. Gellir yn ddiogel gynghori ymfudwyr i gymeryd gyda hwy swm da o ddillad isaf, ysgeifn a thrymion, i'w gwisgo yn yr hâf a'r gauaf, llieiniau ty a byrddau, gwrthbanau, tic gwely, a nwyddau ereill o werth neillduol sydd heb fod yn cymeryd llawer o le.

**Nwyddau yr Ymsefydlwyr yn rhydd oddiwrth Doll.**—Y mae meddianau ymsefydlwyr yn cael eu derbyn i mewn yn rhydd oddiwrth doll os byddant yn dod o fewn i'r rhestr ganlynol o eiddo y cyllid-dy:—Meddianau ymsefydlwyr, hyny yw—dillad gwisgo, dodrefn ty, llyfrau proffeswrol, offerynau ac arfau crefft, gorchwyl, neu waith, pa rai sydd wedi bod mewn arferiad gan yr ymsefydlydd, am o leiaf chwe' mis cyn ei symudiad i Canada; offerynau cerddorol, peirianau gwnio teuluaidd, anifeiliaid byw, troliau a cherbydau eraill, ac offer amaethyddol, wedi cael eu defnyddio gan yr ymsefydlydd am o leiaf flwyddyn cyn ei symudiad i Canada, ac heb fod yn cynhwys peirianau neu nwyddau i'w defnyddio mewn unrhyw law-weithfa, neu i'w rhoddi ar werth; ond rhaid i bob nwydd tolladwy, a fyddo yn cael ei ddesgrifo fel meddiant ymsefydlydd, fod wedi ei ddwyn i'r wlad, ar yr un adeg ag y daeth y sefydlydd i'r wlad gyntaf; ac ni ellir eu gwerthu heb dalu toll, nes y byddant wedi bod am ddwy flynedd mewn ymarferiad yn Canada. Y mae y rheolau hyn hefyd yn dibynu ar, ac o dan y rheolau a wnaed gan Weinidog y Tollau; fod anifeiliaid byw i fod yn rhydd oddiwrth doll, pan ddygir hwy gan ymsefydlwyr i Manitoba, neu y Taleithiau Gogledd-Orllewinol, hyd nes y gorchymynir yn wahanol gan y Llywodraethwr mewn Cynghor.

**Cyflogau.**—Y mae y cyflogau (pa rai, wrth gwrs, sydd yn cyfnewid o amser i amser) fel rheol yn uwch o chwarter i haner nag yn Mhrydain Fawr, ac mewn rhai crefftau y maent yn uwch fyth. Y mae y gost o fyw, ar y cyfan, yn is; a bydd teulu cyffredin, gyda gofal, yn llawer gwell allan yn Canada na chartref. Y mae yn Canada agoriadau ffafriol i'r dosparthiadau hyny a gymhellir i fyned allan, ond rhaid dal yn y meddwl y ffaith fod gwaith caled, egni, anturiaeth, a sefydlogrwydd cymeriad mor anhebgorol yno ag mewn unrhyw wlad. Yn wir, hwyrach eu bod yn fwy angenrheidiol; ond o'r tu arall, y mae yno lawer gwell gobaith am lwyddiant i bersonau sydd yn meddu y nodweddion a nodwyd, a'r rhai sydd yn alluog ac yn ewyllysgar i gymhwyso eu hunain at amodau bywyd yn Canada.

**Cyfalafwyr (Capitalists).**—Bydd i bersonau gyda chyfalaf i'w fuddsoddi, weled llawer o agoriadau yn Canada. Gallant ymwneyd â materion amaethyddol, cymeryd i fynu y tir rhad, neu brynu y ffermydd gwelliantol, pa rai sydd i'w gweled yn mhob talaeth, neu gallant ymgymeryd â chloddio mwnau, neu gyda'r llaw-weithfeydd. Bydd i gyllid rheolaidd gyrhaedd yn llawer pellach yn Canada, a thra y mae yr hinsawdd yn iach, a'r golygfeydd yn ardderchog, y mae yno ddigonedd o le i ddifyrwch a hela, ac nid oes gwell manteision addysg i'w cael yn un man.

**Pa le i fyned.**—Dylai dynion ieuangc fyned i Manitoba, y Gogledd-Orllewin, neu Golumbia Brydeinig. Gwell i ddynion hynach, gyda chyfalaf, a theuluoedd ieuaingc, fyned i un o'r taleithiau hynach, ac un ai prynu, neu ardrethu fferm welliantol. Nid ydyw hyn, pa fodd bynag, ond mynegiad cyffredinol, a rhaid i bob achos gael ei benderfynu yn ol ei amgylchiadau neillduol ei hun. Yn Manitoba, y Gogledd-

Orllewin, a rhai rhanau o Golumbia Brydeinig, y mae bywyd y rhaggloddiwr (*pioneer*) ar y tir rhad, neu yn mhell oddiwrth reilffyrdd, yn gyssylltiedig â rhyw gymaint o anhwylysdod, ac absenoldeb o argylchoedd cymdeithasol, pa rai sydd i'w cael yn y rhanau poblog o'r taleithiau hyn, ac yn y taleithiau hynach; a dylai y ffaith hon gael ei chofio gan y rhai sydd yn ceisio penderfynu y mater. Ond gellir prynu ffermau gwelliantol, hyd yn oed yn y cymydogaethau hyn, am swm rhesymol.

**Y Cyfalaf Angenrheidiol.**—Anhawdd ydyw rhoddi ar lawr reol sefydlog ynghylch y cyfalaf angenrheidiol at waith fferm. Y mae y swm yn dibynu ar yni, profiad, barn, ac anturiaeth y person sydd yn myned i wario yr arian, y dalaeth a ddewisir, pa un ai tir rhydd sydd i'w gymeryd i fynu, ai fferm welliantol yn cael ei phrynu neu ei hardrethu, a llawer o fanylion eraill. Gellir meiddio dyweyd, pa fodd bynag, os bydd gan ddyn £100 neu £200, ar ol glanio, a rhyw gymaint o wybodaeth yn nghylch ffermio, ei fod mewn sefyllfa i wneyd cychwyn da yn Manitoba a'r Gogledd-Orllewin; ond y mae yn ddoeth, yn gyffredin, meddu rhyw gymaint o brofiad o'r wlad cyn i ddyn ddechreu drosto ei hun.

**Gweision Ffermydd.**—Y mae galwad mawr a chynyddol am weision a morwynion ffermydd, yn mhob rhan o Canada. Y mae peirianau o amrywiol fathau mewn defnydd beunyddiol, ond y mae llafur yn brin er hyny, a gall dynion da, yn y tymhorau priodol, gael gwaith cysson. Y mae llawer o bersonau o'r dosparth hwn, y rhai ar y cyntaf oeddynt lafurwyr, yn awr yn meddu ffermydd o'r eiddynt eu hunain, yn rhanau goreu y deyrnas. Gellir cynghori garddwyr masnachol, garddwyr, a phersonau yn deall gofalu am geffylau, gwartheg, a defaid, hefyd i fyned allan.

**Gweision Teuluaidd.**—Mor bell ag y mae nifer yn profi un peth, y mae yn debyg fod y galwad mwyaf oll, am forwynion teuluaidd. Y mae y cyflog yn dda, nid ydyw amodau y gwasanaeth yn orthrymus, a sicrheir cartrefi cysurus. Dylai morwynion teuluaidd fyned ar unwaith ar ol cyrhaedd, at yr agosaf o Oruchwylwyr y Llywodraeth. Y mae gan y boneddigion hyn yn ei swyddfeydd, restr o wasanaeth-leoedd gwâg, a chyfarwyddir yr ymofynwyr i fyned o flaen pwyllgor lleol y boneddigesau, fel y gallont gael budd eu harolygiad a'u cyfarwyddyd, hyd nes y sefydlant mewn gwasanaeth boddhaol. Dylai gweision a morwynion teuluaidd fyned â'u cymeriadau (ysgrifenedig) gyda hwy, a chofio fod cymeriadau da mor anhebgorol yn Canada ag mewn rhywle arall. Gall y rhai hyn fyned allan unrhyw adeg ar y flwyddyn.

**Dosparthiadau Eraill o Lafur.**—Nid oes ond ychydig o alw am ferched, ond fel morwynion teuluaidd. Ni ddylai athrawesau teuluaidd, cynorthwywyr masnachdai, claf-wylwyr (*nurses*), &c., fyned allan, os na byddant yn myned i ymuno â chyfeillion abl ac ewyllysgar i'w cynhorthwyo i gael gwaith. Cynghorir crefftwyr, gweithwyr cyffredinol, a gwneuthurwyr ffyrdd-haiarn (*navvies*) i fynu hyspysrwydd neilltuol, am eu gwaith arbenig hwy, cyn myned allan. Nid ydyw y galwad yn awr mor fawr ag yr oedd ychydig o flynyddoedd yn ol, ac ni ddylid

cymhell y cyfryw ddynion, yn enwedig os bydd ganddynt deuluoedd lliosog, i fyned allan ar *siawns* o gael gwaith. Y mae yn ddiogel eu cynghori i gychwyn pan yn myned i ymuno â chyfeillion fyddo yn eu gwahodd drosodd, neu os bydd ganddynt y dueddfryd a'r wybodaeth a fyddo yn eu galluogi i newid eu galwedigaeth, a dyfod yn amaethwyr. Ni ddylai clercod, cynllun-ysgrifenwyr (*draftsmen*), a gweision rheilffordd ymfudo, os na byddant yn myned i sefyllfaoedd fyddo eisoes wedi eu sicrhau. Y mae pob galwad am wasanaeth o'r fath, yn cael ei gyflenwi yn llawn, yn y lle y digwyddo fod. Ni ddelir allan unrhyw gefnogaeth i aelodau o'r broffes gyfreithiol neu feddygol, ysgolfeistriaid, a phersonau yn dymuno myned i mewn i'r gwasanaeth milwrol neu wladol, i fyned i Canada, yn neilltuol os bydd arnynt angen am orchwyl yn uniongyrchol. Y mae yno yn wastad agoriadau a chyfleusterau i ddynion o alluoedd eithriadol, gydag ychydig gyfalaf; ond, a siarad yn gyffredinol, y mae y galwedigaethau proffeswrol, ac ysgeifn (fel y gelwir hwy) yn Canada yn yr un sefyllfa ag ydynt yn y Deyrnas Gyfunol; y mae y cyflenwad lleol yn ddigon i, os nad yn fwy, na'r galwad.



VANCOUVER



Map of Part of the Dominion of Canada
British Columbia
Dominion of Canada
Alberta
Saskatchewan
Assiniboia
Manitoba
Keewatin
Ontario
Quebec
Washington
Montana
Dakota
Minnesota
Wisconsin
Michigan
Iowa
Illinois
Vancouver Island
Victoria
Vancouver
Edmonton
Prince Albert
Battleford
Yorkton
Winnipeg
Emerson
Port Arthur
Fort William
Lake Superior
Lake Michigan
Lake Huron
Lake Ontario
Lake Erie
Toronto
Ottawa
Buffalo
Chicago
St. Paul
Duluth
Minneapolis
Detroit
Canadian Pacific Railway
International Boundary
Winnipegosis Lake
Lake Manitoba
Australia to Vancouver
Yokohama & Hong Kong to Vancouver
Asia
North America
Canada
United States
Europe
Africa
South America
Australia
Pacific Ocean
Atlantic Ocean
Indian Ocean
Vancouver to Yokohama 4374 Miles
Vancouver to Sydney 7464 Miles
Quebec to Liverpool 2622 Knots
Equator
New Zealand
China
Japan
Argentine Republic
Mc Corquodale & Co. Limited
Map Engravers, Printers &c.
London, N.W.

